# GRAMADEG CERDDOROL,

YN GYNWYSEDIG

## MEWN TAIR RHAN;

SEF

## NODIANT, CYNGHANEDD, A CHYFANSODDIANT;

YN NGHYD AG

## ATTODIAD,

YN CYNWYS

GWERSI ER YMARFER LLEISIO, A THONAU MOESOL, DIFYR, AC ADDYSGIADOL.

---

GAN DAVID ROBERTS,
CAE'R BERLLAN, BETHESDA.

---

*BALA*;
ARGRAFFWYD DROS YR AWDWR GAN G. JONES.

MLCCCXLVIII.

# RHAGYMADRODD.

CYMERWYD y gorchwyl o gyfansoddi y Gramadeg Cerddorawl hwn, heb un bwriad i'w gyhoeddi; ond i fod yn wersi ysgrifenedig i wahanol ddosbeirth Cantorion Bethesda; ac yn y cyflwr dywededig y bu y rhan fwyaf o'r penodau am flynyddau. Cyhoeddwyd ef ar gais Cantorion Bethesda a'r cymydogaethau, yn nghyd ag amrai o weinidogion, a chyfeillion cerddgar ac eiddgar dros leshad y genedl. Ni fwriadwyd am i'r oll fod yn wreiddiol, ond hyderir fod ein cydgenedl wedi eu llwyr berswadio bellach, nad yw cyhoeddiad o'r natur i'w ddymuno. Amcanwyd cyfleu egwyddorion Cerddoriaeth yn fyr, eglur, a chynwysfawr, mewn ffurf syml a dirodres; arferwyd y geiriau mwyaf sathredig, a gadawyd y rhan fwyaf o'r enwau perthynol i'r rhan gyntaf, yn annghyfiaith, er mwyn yr ieuengctyd. Yn yr ail ran, eglurwyd cyfansoddiad, ffurfiad, cyflead, defnyddiad, ac esiamplau a rheolau pob *cord* yn ei benod. Yn y drydedd ran, eglurwyd pynciau cywreiniaf ac ardderchocaf Cerddoriaeth, y rhai na chafwyd un eglurhad arnynt yn yr iaith gymraeg o'r blaen.

---

# OL-YSGRIF.

*Ddarllenydd hynaws;—*

WELE un egniad yn ychwanegol wedi ei wneud er mwyn efryddion Cerddoriaeth; gallesid bod yn fanylach mae'n wir trwy chwyddo y gwaith; ond credwyf fod yr hyn a eglurwyd yn ddigon, gyd ag ymarferiad a chwaeth, i alluogi y Cymro uniaith i gyfansoddi cyfansoddiant syml a dyblyg, yn nghyd a dilyniant, ehediant, ac ehediant dyblyg, gyda rhwyddineb.

Cynghorem gyfansoddwyr ieuaingc i beidio ymwneud dim a chyfansoddiant caeth, cyn bod yn gyfarwydd iawn mewn cyfansoddiant syml.

# RHAN I.

---

## PENNOD I.

*Am y Nodau* (Notes), *a'u gwasanaeth.*

Arddangosir pob seiniau cerddorawl, yn nghyd a'u parhad, drwy arwyddion priodol, y rhai a elwir nodau *(notes)*; ac ysgrifenir y nodau hyny ar bump o linellau cyfochrog, y rhai a elwir *staff*; fel hyn,



Gelwir yr isaf o'r llinellau hyn yn gyntaf, a'r nesaf yn ail, &c.,

fel hyn,




Gelwir y gwagle sydd rhwng y llinellau yn gyfryngau, a'r cyfrwng isaf a elwir y cyntaf, a'r nesaf yn ail, &c.;

fel hyn,



Gosodir penau y nodau yn y cyfryngau yn gystal ag ar y llinellau, a gelwir hwynt yn raddau; felly y mae naw o raddau yn y *staff*; sef pum llinell a phedwar cyfrwng;

fel hyn, 


Pan fo angen am ychwaneg o leoedd i nodau na'r naw uchod, paratoir hyny drwy ychwanegu llinellau byrion oddiar, neu odditan y *staff*, y rhai a elwir, llinellau ychwanegol.




Cyfrifir y llinellau ychwanegol oddiar y *staff* i fynu, a'r llinellau ychwanegol odditan y *staff* i lawr, fel y dengys y ffigyrau. Cyfrifir y cyfryngau ychwanegol yn ol yr un drefn.

Enwir y llinellau a'r cyfryngau, â'r saith lythyren, A, B, C, D, E, F, G. Y mae eu lleoedd ar y *staff* yn ymddibynu ar y *clef* a ddefnyddir yn nechreu y *staff*.

---

## PENNOD II.

*Am y* Clefs *a'u gwasanaeth.*

Y MAE tri math o *glefs*, sef G, C, F; fel hyn,

*Clef* y G, neu'r *treble.*



*Clef* y C, neu'r *tenor.*



*Clef* F, neu'r *bass.*




Gosodir *clef* y G, neu'r *treble,* ar yr ail linell;

fel hyn, 

Gosodir *clef* y C, neu'r *tenor*, ar y bedwaredd linell;

fel hyn, 

Gosodir *clef* F, neu'r *bass*, ar y bedwaredd linell;

fel hyn,  neu, 

Enwir y nodau gyda *clef* y *treble*;

fel hyn, 


Ni ddefnyddir ond saith lythyren; ond ail ddefnyddir hwy yn y drefn a ganlyn;

i fynu fel hyn, 


i lawr fel hyn, 


Enwir y nodau gyda *clef* y *tenor*;

fel hyn, 


Enwir y nodau gyda *clef* y *bass*;

fel hyn, 

Am y *clefs* anarferedig yn Brydain, pa rai a ddefnyddir gan wahanol gerddorion, mewn gwahanol oesoedd, a theyrnasoedd.

Arferwyd *clef* y *treble* amser yn ol, yn Ffrainc ar y llinell isaf;

fel hyn, 


Arferir *clef* y *tenor* ar bedwar o wahanol leoedd. 1. Ar y drydedd linell;

fel hyn, 


2. Ar y llinell isaf;

fel hyn, 


Arferir y *clef* uchod yn *Italy*, a *Germany*, yn lle *clef* y *treble*, a galwant ef *Soprano*.

3. Ar yr ail linell;

fel hyn, 


Arferir y *clef* uchod yn *Italy* a *Germany*, fel cydymaith i'r ail, galwant ef *Mezzo Soprano*.

4. Arferir ef ar y trydydd cyfrwng mewn amryw fanau, gan wahanol awdwyr;

fel hyn, 

*g a b c d e f g*

Arferir *clef* y *bass* yn *Italy*, ar y drydedd linell, a galwant ef *Baritono*;

fel hyn, 

*g a b c d e f g*

---

## PENNOD III.

*Am y Nodau*, (notes).

Y MAE hyd, neu barhad seiniau cerddorawl yn ymddibynu ar ddull, neu lun y gwahanol nodau, o ba rai y mae chwech mewn arferiad cyffredin.

Y cyntaf yw y *Semibreve*, yr hwn sydd debyg i'r llythyren O wedi ei throi ar ei hochr, fel hyn 𝅝.

Ystyrir y nod hwn, megis safon i'r holl nodau.

Yr ail yw *Minim*, yr hwn sydd debyg i *Semibreve* wedi tynu llinell o'i hochr, fel hyn 𝅗𝅥 neu 𝅗𝅥. Ei amser sydd haner cyhyd a *Semibreve*.

Y trydydd yw *Crotchet*, yr hwn sydd nod du, a llinell wedi ei thynu o'i ochr, fel hyn ♩ neu ♩. Ei amser sydd $\frac{1}{2}$ cyhyd a *Minim*, $\frac{1}{4}$ *Semibreve*.

Y pedwerydd yw *Quaver*, yr hwn sydd debyg i'r *Crotchet*, a bach wrth y llinell,

fel hyn, ♪ neu ♪ neu ♫ neu ♫

Ei amser sydd $\frac{1}{2}$ *Crotchet*, $\frac{1}{4}$ *Minim*, $\frac{1}{8}$ *Semibreve*.

Y pumed yw *Semiquaver*, yr hwn sydd debyg i *Quaver*, a dau fach wrth y llinell,

fel hyn, ♫ neu ♫ neu ♫ neu ♫

Ei amser sydd $\frac{1}{2}$ *Quaver,* $\frac{1}{4}$ *Crotchet,* $\frac{1}{8}$ *Minim,* $\frac{1}{16}$ *Semibreve.*

Y chweched yw *Demisemiquaver,* yr hwn sydd debyg i'r *Quaver,* a thri bach wrth y llinell,

fel hyn, ♫ neu ♫ neu ♫ neu ♫

Ei amser sydd $\frac{1}{2}$ *Semiquaver,* $\frac{1}{4}$ *Quaver,* $\frac{1}{8}$ *Crotchet,* $\frac{1}{16}$ *Minim,* $\frac{1}{32}$ *Semibreve.*

Ni a ychwanegwn daflen er egluro cyfartaledd y nodau.

| | |
|---|---|
| 1 Semibreve | Cyfartal. |
| 2 Minim. | Cyfartal. |
| 4 Crotchet. | Cyfartal. |
| 8 Quaver. | Cyfartal. |
| 16. Semi-quaver. | Cyfartal. |
| 32 Demisemi-quaver. | Cyfartal. |

Defnyddia rhai awdwyr, nod cyflymach na *Demisemiquaver*, o'r enw *Semidemisemiquaver*, yr hwn sydd a phedwar bach wrth y llinell, fel hyn, Ei amser yw $\frac{1}{64}$ *Semibreve.*

Arferai yr hynafiaid dri math o nodau hwy eu parhad na'r *Semibreve.*

Y cyntaf yw *Maxima*, yr hwn sydd fel hyn, Ei amser sydd gyfartal i 8 *Semibreve.*

Yr ail yw *Long*, yr hwn sydd fel hyn, Ei amser sydd gyfartal i 4 *Semibreve.*

Y trydydd yw *Breve*, yr hwn sydd fel hyn, Ei amser sydd gyfartal i 2 *Semibreve.*

---

## PENNOD IV.

### *Am y Dot.*

Pan ychwanegir *dot* . ar ol unrhyw nod, y mae yn ychwanegu at y nod hwnw, haner ei amser priodol.

ESIAMPLAU.

Y mae *semibreve* a *dot*, yn gyfartal i dri *minim* ;—



*Minim* a *dot*, sydd gyfartal i dri *crotchet* ;—



*Crotchet* a *dot*, i dri *quaver* ;—



*Quaver* a *dot*, i dri *semiquaver* ;—



*Semiquaver* a *dot*, i dri *demisemiquaver* ;—



DOTS DWBL.

Pan ychwanegir *dots* dwbl ar ol unrhyw nod, y mae yn ychwanegu at y nod, haner a chwarter amser y nod, h.y. tair rhan o bedair o amser priodol y nod.

ESIAMPLAU.

Y mae *minim* a *dot* dwbl, yn gyfartal a *minim*, *crotchet*, a *quaver* ;—



Y mae *crotchet* a *dot* dwbl, yn gyfartal i *crotchet*, *quaver*, a *semiquaver* ;—



---

## PENNOD V.

### *Am y Gorphwysnodau* (rests), *a'r* Bars.

Y MAE gorphwysnod priodol yn perthyn i bob nod, a dylid aros mewn distawrwydd, pan gyfarfyddom a gorphwysnod, cyhyd ag amser y nod perthynol iddo.

ESIAMPLAU.

*Semibreve* a'i Orphwysnod.



Defnyddir y gorphwysnod hwn er llanw *bar* yn mhob amser a modd.

*Minim* a'i Orphwysnod.



Yr unig wahaniaeth sydd rhwng gorphwysnod *semi-breve* a gorphwysnod *minim*, yw, fod y naill odditan y llinell, a'r llall oddiar y llinell.

*Crotchet* a'i Orphwysnod.



*Quaver* a'i Orphwysnod.



*Semiquaver* a'i Orphwysnod.



*Demisemiquaver* a'i Orphwysnod.



Weithiau defnyddir *dot* gyda'r gorphwysnodau. Yr un yw egwyddor y *dot* yn mhob lle.

---

*Am y* Bar *a'r* Bar-*linellau.*

Y mae tri math o'r rhai hyn, sef sengl, dwbl, a thriphlyg.

Dyben y *bar*-linell sengl, yw rhanu y beroriaeth yn rhanau cyfartal, er cadw amser a threfn;

fel hyn,

*Bar*-linell dwbl sydd fel hyn, a ddefnyddir ar ddiwedd rhan gyflawn o'r geiriau. Y mae o'r un dyben mewn cerddoriaeth, ag yw diweddnod mewn darllenyddiaeth.

*Bar*-linell triphlyg sydd fel hyn, ac a ddefnyddir ar ddiwedd y beroriaeth.

Y *bar* ydyw yr hyn a fo rhwng y naill *bar*-linell a'r *bar*-linell nesaf.

---

## PENNOD VI.

### *Am Amser.*

AMSER yw mesuriad, neu barhad seiniau y nodau. Dosberthir amser i bump o ddosbarthiadau, sef cyffredin, triphlyg, cyfansawdd cyffredin, cyfansawdd triphlyg, a'r cyfansawdd cyffredin dwbl. Sylwn yn

1. Ar yr *amser cyffredin*. Cynwysa yr amser hwn, 1 *semibreve*, 2 *minim*, 4 *crotchet*, 8 *quaver*, 16 *semiquaver*, 32 *demisemiquaver* (neu nodau cyfartal) yn y *bar*.

Dosrenir yr amser cyffredin i dri modd; sef, araf, cyffredin, a chyflym. Y mae arwyddnod priodol i bob modd.

Arwyddnod y modd arafaf.



Arwyddnod y modd cyffredin.



Arwyddnod y modd cyflym.



Y mae amser priodol yn perthyn i bob un o'r moddau hyn. Cenir *bar* o'r modd araf yn ysbaid pedwar *tip clock*. Cenir *bar* o'r modd cyffredin yn ysbaid tri *tip clock*. Cenir *bar* o'r modd cyflym yn yspaid dau *tip clock*.

Pan y mae $\frac{2}{4}$ wedi ei ddodi yn nechreu peroriaeth, un *minim* (neu nodau cyfartal) sydd yn y *bar*, a dylid rhoddi amser *semibreve* o'r modd cyflym, ar *minim* o'r modd hwn.

Y mae eithriadau i'r rheolau uchod o amser. Y mae *style* tonau, a natur geiriau, weithiau yn peri cyflymder, dro arall, arafwch.

2. *Amser triphlyg.* Amser triphlyg a fesurir a'r ffigyr 3. Dosrenir yr amser hwn i dri modd, ac adnabyddir hwynt wrth y ffigyrau $\frac{3}{2}$, $\frac{3}{4}$, $\frac{3}{8}$.

Y cyntaf yw $\frac{3}{2}$. Cynwysa *bar* yn y modd hwn dri *minim* (neu nodau cyfartal), fel hyn, Cenir *bar* yn y modd hwn mewn ysbaid pedwar *tip clock.*



Yr ail yw $\frac{3}{4}$. Cynwysa *bar* yn y modd hwn dri *crotchet* (neu nodau cyfartal), fel hyn, Cenir *bar* yn y modd hwn mewn ysbaid tri *tip clock.*



Y trydydd yw $\frac{3}{8}$. Cynwysa *bar* yn y modd hwn dri *quaver* (neu nodau cyfartal), fel hyn, Cenir *bar* o'r modd hwn mewn ysbaid dau *tip clock.*



3. *Amser cyfansawdd.* Ffurfir yr amserau cyfansawdd o'r amserau a enwyd. Deillia yr amser cyfansawdd cyffredin o'r amser cyffredin, â'r amsercyfansawdd triphlyg, o'r amser triphlyg. Yr amser cyffredin cyfanawdd a fesurir a'r ffigyr 6. Dosrenir yr amser hwn i ddau fodd, ac adnabyddir hwynt wrth y ffigyrau $\frac{6}{4}$, $\frac{6}{8}$.

Y cyntaf yw $\frac{6}{4}$. Cynwysa *bar* yn y modd hwn chwe' *crotchet* (neu nodau cyfartal). Ffurfir y modd hwn o'r amser cyffredin, drwy ychwanegu *dots* at y nodau; fel hyn,

O'r Cyffredin y ffurfir y Cyfansawdd.






Yr ail yw $\frac{6}{8}$. Cynwysa *bar* yn y modd hwn chwe' *quaver* (neu nodau cyfartal). Ffurfir y modd hwn o'r amser $\frac{3}{4}$, drwy ychwanegu *dots* at y nodau; fel hyn,

O hwn y ffurfir hwn.







4. *Amser cyfansawdd triphlyg.* Amser cyfansawdd triphlyg a fesurir â'r ffigyr 9. Dosrenir yr amser hwn i dri modd, ac adnabyddir hwynt wrth y ffigyrau $\frac{9}{4}$, $\frac{9}{8}$, $\frac{9}{16}$.

Y cyntaf yw $\frac{9}{4}$. Cynwysa *bar* yn y modd hwn naw *crotchet* (neu nodau cyfartal). Ffurfir y modd hwn o'r amser triphlyg $\frac{3}{2}$, drwy ychwanegu *dots* at y nodau; fel hyn,

O hwn y ffurfir hwn.







Yr ail yw $\frac{9}{8}$. Cynwysa *bar* yn y modd hwn naw *quaver* (neu nodau cyfartal). Ffurfir y modd hwn o'r amser triphlyg $\frac{3}{4}$, drwy ychwanegu *dots* at y nodau; fel hyn,

O hwn y ffurfir hwn.







Y trydydd yw $\frac{9}{16}$. Cynwysa *bar* yn y modd hwn naw *semiquaver* (neu nodau cyfartal). Ffurfir y modd hwn o'r amser triphlyg $\frac{3}{8}$, drwy ychwanegu *dots* at y nodau; fel hyn,

O hwn y ffurfir hwn.






5. *Amser cyfansawdd cyffredin dwbl.* Amser cyfansawdd cyffredin dwbl a fesurir â'r ffigyr 12. Dosrenir yr amser i ddau fodd, ac adnabyddir hwynt wrth y ffigyrau $\frac{12}{8}$, $\frac{12}{16}$.

Y cyntaf yw $\frac{12}{8}$. Cynwysa *bar* yn y modd hwn ddeuddeg *quaver* (neu nodau cyfartal). Ffurfir y modd hwn o'r amser cyffredin, drwy ychwanegu *dots* at y nodau; fel hyn,

O hwn y ffurfir hwn.






Yr ail yw $\frac{12}{16}$. Cynwysa *bar* yn y modd hwn ddeuddeg *semiquaver.* Ffurfir y modd hwn o'r amser $\frac{2}{4}$, drwy ychwanegu *dots* at y nodau; fel hyn,

O hwn y ffurfir hwn.







---

## PEN. VII.

### *Am gadw Amser.*

Un o bethau pwysicaf cerddoriaeth yw cadw amser cywir a rheolaidd; ac fel cymorth i ddysgu cadw yr amser, dylid ysgogi y llaw, neu'r troed, i fynu ac i lawr drwy symudiadau cyfartal. Nid yw o bwys pa ddull a gymerir i gadw amser; y pwnc yw cael symudiadau cymesur. Ond dylid gochel pob math o ystumiau anweddus, am fod yr ysgogiad lleiaf yn ddigon. Y drefn

oreu, wedi dyfod yn gyfarwydd yn yr amser, yw, ei gadw, neu ei guro yn y meddwl, ac yna ni raid wrth ysgogiad llaw na throed. Dyben curo, neu gyfrif amser ydyw, rhanu y *bar* yn rhanau cyfartal.

Rhenir yr amser cyffredin i ddwy, neu bedair rhan gyfartal, a'r amser triphlyg i dair rhan gyfartal. Arwydda y llythyren L ysgogiad y llaw neu'r troed i lawr, a'r llythyren F i fynu.

ESIAMPLAU.

Pan y byddo yr amser cyffredin yn cynwys dau *minim* yn y bar, y dull mwyaf manteisiol yw ysgogi y llaw neu'r troed unwaith i lawr, ac unwaith i fynu; sef disgyn ar y rhan gyntaf o'r *bar*, ac esgyn ar yr ail. Dengys y ffigyrau y drefn o gyfrif yr amser.

Rhif. 1 2 3 4 1 2 3 4 1 2 3 4 1 2 3 4 1 2 3 4



Curer l, f, l, f, l, f, l, f, l, f.

Pan y mae yr amser cyffredin yn cynwys pedwar *crotchet* yn y *bar*, y dull mwyaf manteisiol yw ysgogi y llaw neu'r troed ddwywaith i lawr, a dwywaith i fynu; sef i lawr ar y *crotchet* cyntaf, i fynu ar yr ail, i lawr ar y trydydd, ac i fynu ar y pedwarydd; fel hyn,

Rhif. 1 2 3 4 1 2 3 4 1 2 3 4 1 2 3 4



Curer l, f, l, f, l, f, l, f, l, f, l, f, l, f, l, f.

Perthyna y sylwadau hyn i bob llais yn ddiwahaniaeth yn yr amser cyffredin, ond yr amser $\frac{3}{4}$, ac y mae hwn yn

gwbl o'r un natur, ond yn unig nad yw cynwysiad y *bar* o'r un faint. Pan y mae yr amser $\frac{2}{4}$, yn cynwys dau *crotchet* yn y *bar*, y dull mwyaf manteisiol yw ysgogi y llaw neu'r troed unwaith i lawr, ac unwaith i fynu; sef i lawr ar y rhan gyntaf, ac i fynu ar yr ail; fel hyn,

Rhif. 1 2 1 2 1 2 1 2 1 2 1 2 1 2 1 2

Curer l, f, l, f, l, f, l, f, l, f, l, f, l, f, l, f.

Pan y mae yr amser $\frac{2}{4}$ yn cynwys pedwar *quaver* yn y *bar*, y dull mwyaf manteisiol yw ysgogi y llaw neu'r troed ddwywaith i lawr, a dwywaith i fynu; sef i lawr ar y *quaver* cyntaf, i fynu ar yr ail, i lawr ar y trydydd, ac i fynu ar y pedwarydd; fel hyn,

Rhif. 1 2 3 4 1 2 3 4 1 2 3 4 1 2 3 4

Curer l, f, l, f, l, f, l, f, l, f, l, f, l, f, l, f.

ESIAMPLAU YN YR AMSER TRIPHLYG.

Rhenir yr amser triphlyg i dair rhan gyfartal. Wrth guro yr amser, y mae'r llaw, neu'r troed yn disgyn ar y rhanau cyntaf, a'r ail, ac yn esgyn ar y drydedd ran.

Rhif. 1 2 3 1 2 3 1 2 3 1 2 3 1 2 3

Curer l, l, f, l, l, f, l, l, f, l, l, f, l, l, f.

Rhif. 1 2 3 1 2 3 1 2 3 1 2 3 1 2 3



Curer l, l, f, l, l, f, l, l, f, l, l, f, l, l, f.

Rhif. 1 2 3 1 2 3 1 2 3 1 2 3 1 2 3



Curer l, l, f, l, l, f, l, l, f, l, l, f, l, l, f.

ESIAMPLAU YN YR AMSER CYFANSAWDD CYFFREDIN.

Rhif. 1 2 3 4 5 6 1 2 3 4 5 6 1 2 3 4 5 6 1 2 3 4 5 6



Curer l, f, l, f, l, f, l, f.

Rhif. 1 2 3 4 5 6 1 2 3 1 2 3 1 2 3 1 2 3 1 2 3 4 5 6



Curer l, f, l, f, l, f, l, f.

ESIAMPLAU YN YR AMSER CYFANSAWDD TRIPHLYG.

Rhif. 1 2 3 4 5 6 7 8 9 1 2 3 4 5 6 7 8 9 1 2 3 4 5 6 7 8 9



Curer l, l, f, l, l, f, l, l, f.

Rhif. 1 2 3 4 5 6 7 8 9 1 2 3 4 5 6 7 8 9



Curer l, l, f, l, l, f.

Rhif. 12 3 456 789 12 3 456 789

Curer l, l, f, l, l, f.

ESIAMPLAU YN YR AMSER CYFANSAWDD CYFFREDIN DWBL.

Rhif. 123 456 789 10 11 12 123 456 789 10 11 12

Curer l, f, l, f, l, f, l, f, f.

Rhif. 123 456 789 10 11 12 123 456 78 9 10 11 12

Curer l, f, l, f, l, f, l, f.

Perthyna y sylwadau hyn i bob llais yn ddiwahaniaeth. Wrth gadw amser, dylid gochel gormod cyflymder, a gormod arafwch; o blegid y mae y naill eithafnod mor feius a'r llall.

---

## PEN. VIII.

*Am Don, Haner ton,* Sharp, Flat, *Naturiol, yn nghyd a'r Arwyddnodau.*

Gelwir y nodau a ddynodir â'r llythyrenau A, B, C, D, E, F, G, yn nodau naturiol, er eu gwahaniaethu oddiwrth y nodau a ddynodir gyda *Sharp,* neu *Flat,* megis A ♯, D ♭, &c.

Tôn a haner tôn, yw y pellder *(distance)* sydd rhwng y nodau a'u gilydd.

ESIAMPL.




Oddiwrth yr esiampl, gwelwn nad yw y pellder sydd rhwng y 3 a'r 4, y 7 a'r 8, ond haner cymaint ag eraill: gelwir y rhai lleiaf haner tonau, a'r rhai mwyaf a elwir, tonau; felly gwelwn fod pump o donau, a dwy o haner tonau naturiol.

*Sharp* ♯.

Gwasanaeth y ♯ yw codi y nôd haner tôn yn uwch na'i sefyllfa naturiol. Pan ddefnyddir ef ar ddechreu peroriaeth, y mae yn codi haner tôn ar yr holl nodau a fo ar yr un llinell, neu gyfrwng ag ef. Ond pan ddefnyddir ef mewn unrhyw le arall ar y beroriaeth, gelwir ef, ♯ damweiniol, ac nid yw yn effeithio ond yn y *bar* hwnw yn unig.

*Flat* ♭.

Gwasanaeth y ♭ yw gostwng haner tôn ar y nôd yn îs na'i sefyllfa naturiol. Pan ddefnyddir ef yn nechreu peroriaeth, y mae yn gostwng haner tôn ar yr holl nodau a fyddo ar yr un llinell, neu gyfrwng ag ef. Ond pan ddefnyddir ef mewn lle arall yn y beroriaeth, gelwir ef ♭ damweiniol, ac nid yw yn effeithio ond o fewn y *bar* hwnw yn unig.

*Naturiol* ♮.

Gwasanaeth y ♮ yw tynu effaith y *Sharp* a'r *Flat*, a thrwy hyny, adferu y nôd, neu y nodau, i'w sefyllfa naturiol.

*Sharp* dwbl +.

Gwasanaeth y + yw codi y nôd ddwy haner tôn.

C *sharp* ddwbl.



*Flat* dwbl ♭♭.

Gwasanaeth y ♭♭ yw gostwng y nôd ddwy haner tôn.

B *flat* ddwbl.



*Pause* 𝄐.

Pan ddefnyddir y 𝄐 uwchben unrhyw nôd, neu orphwysnod, dylid aros mwy na'r amser priodol arnynt; gellir gorphwys yn y lle ar amgylchiadau, os bydd hyny i'w ddymuno.

*Repeat* :/|:

Arwydda y :/|: y dylid ail ganu rhyw air neu eiriau.

*Slur* ⌒

Arwydda y ⌒ y dylid canu y nodau a fyddo odditano ar un sill.

ESIAMPL.




*Repeats* Cerddorawl.



Y mae y naill a'r llall o'r arwyddion hyn yn arwyddo y dylid ail ganu.

## PEN. IX.

### *Am y Graddfaäu* (Scales), *a'r Cyfryngau.*

Wrth raddfa y meddylir esgyniad neu ddisgyniad graddol drwy y seiniau, o unrhyw nôd i'w wythfed. Y mae tair math o *scales*; sef y *diatonic, chromatic,* a'r *enharmonic.*

Wrth raddfa *diatonic* y meddylir y raddfa naturiol. Gelwir hi yn naturiol, am fod y llais dynol yn seinio y tonau a'r haner tonau yn eu lleoedd, yn naturiol.

Cynwysa y raddfa hon, saith o wahanol seiniau; sef pump o donau a dwy o haner tonau.

ESIAMPL.




Gwelwn mai yn y cywair mwyaf y mae y raddfa naturiol; gan hyny, nid ellir gyda phriodoldeb, alw y cywair lleiaf yn naturiol, am na ellir ei chyflawni na'i chwblhau heb gynhorthwy celfyddyd.

Y mae y gwahaniaeth sydd rhwng y cywair mwyaf a'r cywair lleiaf yn ddirfawr. Ond yr hyn sydd yn ei achosi yw y gwahaniaeth sydd yn sefyllfa yr haner tonau. Y mae yr haner tonau yn y cywair mwyaf bob amser, rhwng y 3 a'r 4, a rhwng y 7 a'r 8. Y maent rhwng yr 2 a'r 3, a rhwng y 5 a'r 6, yn y cywair lleiaf.

ESIAMPL.



Ond pan fyddom yn esgyn drwy y seithfed i'r wythfed, rhaid symud yr haner tôn o fod rhwng y 5 a'r 6, a'i gosod rhwng y 7 a'r 8; o blegid na dderbynia y glust yr 8fed megis cyweirnod, heb i'r 7fed fod o fewn haner tôn i'r 8fed, neu'r cyweirnod.

ESIAMPL.




Dyben y ♯ ar y 6ed, yw ffurfio tôn gyfan rhwng y 5ed a'r 6ed; drwy hyn y mae yn dyfod yn raddfa reolaidd, sef pump o donau, a dwy haner tôn. Oddiwrth yr esiampl uchod, gwelwn fod yr haner tonau wrth esgyn, rhwng yr 2il a'r 3ydd, a rhwng y 7fed a'r 8fed. Ond wrth ddisgyn, y mae yr haner tonau rhwng y 6ed a'r 5ed, a rhwng y 3ydd a'r 2il. Derbynia y glust y cywair wrth ddisgyn, heb *sharp* na *flat*.

ESIAMPL.




*Am y Raddfa Chromatic.*

Weithiau gelwir y raddfa hon yn raddfa gelfyddydawl, am ei bod yn cael ei ffurfio trwy rym celfyddyd. Gelwir hi hefyd yn raddfa haner tonawl, am ei bod yn gynwysedig o haner tonau yn unig.

ESIAMPLAU.





Rhif yr haner tonau. 1 2 3 4 5 6 7 8 9 10 11 12

Ni arferir y raddfa hon wrthi ei hun fel y raddfa naturiol; ond y mae o'r pwys mwyaf eu deall, er paratoi at ddeall trawsddodiad a thrawsgyweiriad.

*Am y Raddfa Enharmonic.*

Gelwir hon yn raddfa chwartertonawl. Nid yw y raddfa hon yn arferedig mewn peroriaethau cysegredig, ac nid all yr organ wahaniaethu yn y cyfryngau D ♯ ac E ♭; ond pan ymaflo llaw y cywrain yn y *Bass of Violin*; ceir fod y gwahaniaeth sydd rhyngddynt yn agos i chwarter ton.

*Am y Cyfryngau* (Intervals).

Y mae o'r pwys mwyaf i ddeall y cyfryngau yn dda, yn neillduol cyn ymwneud dim a chynghanedd. Wrth gyfrwng y meddylir y pellder (*distance*) a fo rhwng dau nod, neu ddwy sain. Wrth fesur cyfrwng, rhaid cymeryd y ddau eithafnod i mewn, sef y nod cyntaf a'r diweddaf; er esiampl, y mae y cyfrwng sydd o C i E, yn gyfrwng tri, felly gwelwn fod raid cyfrif C yn gyntaf, D yn ail, ac E yn drydydd. Y mae deuddeg o wahanol gyfryngau i'w cael yn naturiol, hyny yw, heb gymorth *sharp* na *flat*.

Y cyfrwng cyntaf yw yr eilfed lleiaf, neu haner tôn; y mae ei sefyllfa rhwng y 3ydd a'r 4ydd, a rhwng y 7fed a'r 8fed, yn mhob cyweirnod. Sylwer, yn y cywair mwyaf yr ymdrinir a'r cyfryngau

ESIAMPL.

Un haner tôn.



Yr ail gyfrwng yw yr eilfed mwyaf, tôn. Cynwysa y cyfrwng hwn ddwy haner tôn; y mae ei sefyllfa mewn pump o wahanol leoedd; sef rhwng y 1af a'r 2il, rhwng yr 2il a'r 3ydd, rhwng y 4ydd a'r 5ed, rhwng y 5ed a'r 6ed, a rhwng y 6ed a'r 7fed.

ESIAMPL.

Dwy o haner tonau.



Y trydydd cyfrwng yw y trydydd lleiaf, tôn a haner tôn. Cynwysa y cyfrwng hwn dair haner tôn. Y mae ei sefyllfa mewn pedwar o wahanol leoedd; sef rhwng yr 2il a'r 4ydd, rhwng y 3ydd a'r 5ed, rhwng y 6ed a'r 8fed, a rhwng y 7fed a'r 2fed uwchlaw.*

ESIAMPL.

Tair o haner tonau.



Y pedwarydd cyfrwng yw y trydydd mwyaf; cynwysa hwn bedair o haner tonau. Y mae ei sefyllfa mewn tri o wahanol leoedd; sef rhwng y 1af a'r 3ydd, rhwng y 4ydd a'r 6ed, a rhwng y 5ed a'r 7fed.

* Ystyrir y 9fed fel yr 2fed uwchlaw, a'r 10fed fel y 3ydd uwchlaw, &c., ni chyfrifir yr wython.

ESIAMPL.

Pedair o haner tonau.



Y pumed cyfrwng yw y pedwarydd perffaith; cynwysa hwn bump o haner tonau. Y mae ei sefyllfa mewn chwech o wahanol leoedd; sef rhwng y laf a'r 4ydd, rhwng yr 2fed a'r 5ed, rhwng y 3ydd a'r 6ed, rhwng y 5ed a'r 8fed, rhwng y 6ed a'r 2fed uwchlaw, a rhwng y 7fed a'r 3ydd uwchlaw.

ESIAMPL.

Pump o haner tonau.



Y chweched cyfrwng yw y pedwarydd mwyaf; cynwysa chwech o haner tonau. Y mae ei sefyllfa rhwng y 4ydd a'r 7fed.

ESIAMPL.

Chwech o haner tonau.



Y seithfed cyfrwng yw y pumed lleiaf; cynwysa y cyfrwng hwn chwech o haner tonau. Y mae ei sefyllfa rhwng y 7fed a'r 4ydd.

ESIAMPL.

Chwech o haner tonau.



Yr wythfed cyfrwng yw y pumed perffaith; cynwysa saith o haner tonau. Y mae ei sefyllfa mewn chwech o wahanol leoedd; sef rhwng y 1af a'r 5ed, rhwng yr 2fed a'r 6ed, rhwng y 3ydd a'r 7fed, rhwng y 4ydd a'r 8fed, rhwng y 5ed a'r 2fed uwchlaw, a rhwng y 6ed a'r 3ydd uwchlaw.

ESIAMPL.

Saith o haner tonau.



Y nawfed cyfrwng yw y chweched lleiaf; cynwysa wyth o haner tonau. Y mae ei sefyllfa mewn tri o wahanol leoedd; sef rhwng y 3ydd a'r 8fed, rhwng y 6ed a'r 4ydd uwchlaw, a rhwng y 7fed a'r 5ed uwchlaw.

ESIAMPL.

Wyth o haner tonau.



Y degfed cyfrwng yw y chweched mwyaf; cynwysa naw o haner tonau. Y mae ei sefyllfa mewn pedwar o wahanol leoedd; sef rhwng y 1af a'r 6ed, rhwng yr 2fed a'r 7fed, rhwng y 4ydd a'r 2fed uwchlaw, a rhwng y 5ed a'r 3ydd uwchlaw.

ESIAMPL.

Naw o haner tonau.



Yr unfed cyfrwng ar ddeg yw y seithfed lleiaf; cynwysa ddeg o haner tonau. Y mae ei sefyllfa mewn pump o wahanol leoedd; sef rhwng yr 2fed a'r 8fed, rhwng y 3ydd a'r 2fed uwchlaw, rhwng y 5ed a'r 4ydd uwchlaw, rhwng y 6ed a'r 5ed uwchlaw, a rhwng y 7fed a'r 6ed uwchlaw.

ESIAMPL.

Deg o haner tonau.



Y deuddegfed cyfrwng yw y seithfed mwyaf, neu'r nôd arweiniol; cynwysa un ar ddeg o haner tonau. Y mae ei sefyllfa mewn dau o wahanol leoedd; sef rhwng y 1af a'r 7fed, a rhwng y 4ydd a'r 3ydd uwchlaw.

ESIAMPL.

Un ar ddeg a haner tonau.



Cynwysa yr wython *(octave)* ddeuddeg o haner tonau. Ond mewn gwirionedd, nid yw yr wythfed amgen nag ailadroddiad o'r cyntaf.

---

*Am y Cyfryngau annaturiol.*

Ffurfir y rhai hyn wrth ranu tonau yn haner tonau, drwy gymorth *sharp* neu *flat*. Rhoddwn ychydig

esiamplau er egluro natur y cyfryngau hyn; gan hyderu, os sylwer arnynt gyda manylrwydd, y bydd i'r darllenydd eu hadnabod yn mhob lle y digwyddont.

1. Y gwahanol eiliau (*seconds*).

Rhif yr haner tonau, 1 2 3



2fed lleiaf, 2fed mwyaf, 2fed gorfwyaf.*

2. Y gwahanol drydyddau (*thirds*).

Rhif yr ½ tonau, 2 3 4 5



3ydd gorleiaf, 3ydd lleiaf, 3ydd mwyaf, 3ydd gorfwyaf.

3. Y gwahanol bedwaryddau (*fourths*).

Rhif yr haner tonau, 4 5 6



4ydd gorleiaf, 4ydd perffaith, 4ydd gorfwyaf

4. Y gwahanol bumpau (*fifths*).

Rhif yr haner tonau, 6 7 8



5ed lleiaf, 5ed perffaith, 5ed gorfwyaf.

*Gor *extreme*, gorfwyaf, hyny yw, mwy na'r mwyaf; gorleiaf, llai na'r lleiaf.

5. Y gwahanol chwechau (*sixths*).

Rhif yr ½ tonau, 7 8 9 10



6ed gorleiaf, 6ed lleiaf, 6ed mwyaf, 6ed gorfwyaf.

6. Y gwahanol seithau (*sevenths*).

Rhif yr haner tonau, 9 10 11



7fed gorleiaf, 7fed lleiaf, 7fed mwyaf.

7. Yr wython (*octave*).

Rhif yr haner tonau, 12.



Sylwer, nid yw yr holl gyfryngau sydd yn cynwys yr un nifer o haner tonau, i'w hystyried yr unrhyw sain ; er esiampl, nid yw yr 2fed gorfwyaf a'r 3ydd lleiaf, i'w hystyried yr un sain, er eu bod yn cynwysa yr un nifer o haner tonau. Mewn cynghanedd, ystyrir y 3ydd lleiaf yn gydsain, ond cyfrifir yr 2fed gorfwyaf yn annghydsain.

---

*Am y Gwrthddull* (Inversion).

Gwrthddullio unrhyw gyfrwng yw codi y nôd isaf wyth yn uwch. Trwy wrthddull y mae

Pob 2fed yn dod yn 7fed,
Pob 3ydd yn dod yn 6ed,
Pob 4ydd yn dod yn 5ed,
Pob 5ed yn dod yn 4ydd,
Pob 6ed yn dod yn 3ydd,
Pob 7fed yn dod yn 2fed,
A'r 8fed, *octave*, yn unsain.

ESIAMPL.

Cyfrwng y 3ydd, trwy wrthddull, yn dod yn 6ed.





Trwy wrthddull hefyd y mae
Pob cyfrwng gorleiaf yn dod yn orfwyaf,
Pob cyfrwng lleiaf yn dod yn fwyaf,
Pob cyfrwng mwyaf yn dod yn lleiaf,
Pob cyfrwng gorfwyaf yn dod yn orleiaf,
Ond pob cyfrwng perffaith yn parhau yn berffaith.

3ydd gorleiaf, 3ydd lleiaf, 3ydd mwyaf, 3ydd gorfwyaf.

Trydyddau yn cael eu



Gwrthddullio yn chwechau.



6ed gorfwyaf, 6ed mwyaf, 6ed lleiaf, 6ed gorleiaf.

## PEN. IX.

*Am y Cyweirnodau* (keynotes), *a'r Trawsddodiad.*

CYWEIRNOD yw y nôd sylfaenol, neu y brif sain ag sydd yn rheoli pob sain arall. Rhaid i bob peroriaeth gael sain benodol i reoli ei holl seiniau, onid ê, ni bydd yr holl gyfansoddiad ond cymysgedd afreolaidd; fel y mae penau y bregeth yn ymddibynu ar y testyn, felly y mae pob sain mewn peroriaeth yn ymddibynu ar y cyweirnod.

Sylwn yn gyntaf, dylem bob amser ymdrechu i gofio sain y cyweirnod wrth ganu.

Yn ail, nid oes ond un cyweirnod naturiol, sef y cywair mwyaf; ac y mae i'r cyweirnod hwnw, ei gyweirnod perthynasol, sef y cywair lleiaf.

Yn drydydd, C yw y cyweirnod naturiol, ac A yw cyweirnod perthynasol y cyweirnod naturiol.

Yn bedwarydd, y mae cyweirnod perthynasol y cywair mwyaf bob amser yn y cywair lleiaf, ac y mae cyweirnod perthynasol y cywair lleiaf bob amser yn y cywair mwyaf.

ESIAMPL.

Cyweirnod { mwyaf / lleiaf }

---

*Am y Trawsddodiad* (Transition).

Trawsddodiad yw y drefn sydd er ffurfio y llythyrenau *d, e, f, g, b,* yn wahanol gyweirnodau; yr hyn a effeithir drwy ddefnyddiad y *sharps, flats,* &c.

Pa lythyren bynag a ddewiser yn gyweirnod, rhaid i'r haner tonau gael eu priodol leoedd, sef rhwng y 3ydd a'r 4ydd, a rhwng y 7fed a'r 8fed, yn y cywair mwyaf; a rhwng yr 2il a'r 3ydd, a rhwng y 5ed a'r 6ed yn y cywair lleiaf.

Ni a ychwanegwn esiamplau er dangos y drefn y mae yr haner tonau yn symud wrth newid y cyweirnod.

Cyweirnod C.




Cyweirnod G.




Oddiwrth yr esiamplau uchod, gwelwn fod yr haner tonau, yn y cyweirnod C, rhwng yr E a'r F, a rhwng y B a'r C. Ond yn y cyweirnod G, y maent rhwng y B a'r C, a rhwng yr F a'r G. Ond wrth sylwi ar y ffigyrau, canfyddwn fod yr haner tonau rhwng y 3ydd a'r 4ydd, a rhwng y 7fed a'r wythfed, yn y ddau gyweirnod, ac felly yn mhob cyweirnod yn y cywair mwyaf. Gan hyny, doethach yw arfer gyda'r ffigyrau, rhag dyryswch, felly ni raid i'r cantor ond deall sefyllfa y cyweirnod, a bydd yr haner tonau i'w cael yn eu lleoedd priodol.

Adnabyddir sefyllfa y cyweirnod wrth y *sharps* a'r *flats* a fo yn nechreu y beroriaeth. Y mae y *sharps* bob amser i fod yn y drefn a ganlyn,—y *sharp* cyntaf ar F, yr ail ar C, y trydydd ar G, y pedwarydd ar D, y pumed ar A, y chweched ar E, a'r seithfed ar B. Y mae sefyllfa y *sharps* i'w cael yn hawdd wrth esgyn pump oddiar F, a disgyn pedwar, a hyny bob yn ail.

ESIAMPLAU,

Er dangos trefn trawsddodiad trwy *sharps*.

Cyweirnodau G ac E.




Cyweirnodau D a B.




Cyweirnodau A ac F♯




Cyweirnodau E a C♯




Cyweirnodau B a G♯




Cyweirnodau F♯ a D♯




Cyweirnodau C♯ ac A♯



Oddiwrth yr esiamplau, gwelwn yn gyntaf, fod sefyllfa y cyweirnod yn y cywair mwyaf, bob amser, un haner tôn uwchlaw y *sharp* diweddaf; er esiampl, pan y mae pedwar *sharp* o flaen peroriaeth, yr olaf yw D♯; gan hyny, E yw y cyweirnod. Yn ail, y mae sefyllfa y cyweirnod yn y cywair lleiaf, bob amser, un dôn islaw y *sharp* diweddaf; er esiampl, pan y mae dau *sharp* o flaen peroriaeth, yr olaf yw C♯; gan hyny, B yw y cyweirnod.

---

*Trawsddodiad trwy* flats.

Y mae y *flats*, bob amser, i fod yn y drefn a ganlyn, —y *flat* cyntaf ar y B, yr ail ar E, y trydydd ar A, y pedwarydd ar D, y pumed ar G, y chweched ar C, a'r seithfed ar F. Wrth ddechreu gyda B, gellir cael sefyllfaoedd y *flat*, wrth esgyn pedwar, a disgyn pump. Mewn trawsddodiad, nid yw yn rheolaidd defnyddio yr ail *flat* heb y cyntaf, na'r trydydd heb yr ail, &c. Perthyna y sylw hwn yr un modd gyda'r *sharps*.

ESIAMPLAU,

Er dangos trawsddodiad trwy *flats*.

Cyweirnodau F a D.




Cyweirnodau B♭ a G.




Cyweirnodau E♭ a C.



Cyweirnodau A♭ ac F.

Cywair { mwyaf / lleiaf

Cyweirnodau D♭ a B♭.

Cywair { mwyaf / lleiaf

Cyweirnodau G♭ ac E♭.

Cywair { mwyaf / lleiaf

Cyweirnodau C♭ ac A♭.

Cywair { mwyaf / lleiaf

Oddiwrth yr esiamplau, gwelwn yn gyntaf, mai sefyllfa y cyweirnod yn y cywair mwyaf, yw y *flat* diweddaf ond un, neu'r *flat* nesaf i'r olaf. Pan na byddo ond un *flat* o flaen peroriaeth, y cyweirnodau ydynt F a D. Pan y byddo pedwar *flat* o flaen peroriaeth, y drydedd, neu y nesaf i'r olaf, yw A♭, gan hyny, A♭ yw y cyweirnod. Yn ail, mai sefyllfa y cyweirnod yn y cywair lleiaf, ydyw, dwy dôn oddiar y *flat* diweddaf. Pan y byddo pedwar *flat* o flaen peroriaeth, yr olaf yw D♭, gan hyny, F yw y cyweirnod.

Arfera dysgedigion wahanol enwau ar nodau y raddfa *(scale)*.

Y cyweirnod a elwir, Tonydd. Eilfed y cyweirnod, Ardonydd, am ei fod un radd oddiar y Tonydd. Y trydydd a elwir, Canolydd, am ei fod yn y canol, rhwng y Tonydd a'r Llywydd. Y pedwarydd a elwir, Islywydd, am ei fod un radd islaw y Llywydd. Y pumed a elwir, Llywydd. Y chwechedd a elwir, Arlywydd, am ei

fod un radd oddiar y Llywydd. Y seithfed a elwir, Nod arweiniol, am ei fod yn arwain y glust i'r cyweirnod.

Taer ddymunem ar i'r myfyriwr argraffu yr enwau ar ei gôf, a hyderwn y bydd iddo eu canfod yn rhwydd a syml.

---

## PEN. XI.

*Am Drawsgyweiriad, ac adferiad o Drawsgyweiriad.*

Trawsgyweiriad yw y drefn sydd i fyned o'r naill gywair i gywair arall, ac o'r naill gyweirnod i gyweirnod arall, yn yr un beroriaeth. Trwy drawsgyweirio, y mae y cyfansoddydd yn gallu lluosogi llawer ar ei ddrychfeddyliau, a thrwy hyn yn peri amrywiaethau er boddhad i'r glust ac hyfrydwch i'r teimlad. Hefyd canfyddwn weithiau mewn un penill, ran o hono yn destyn llawenydd a gorfoledd, a'r rhan arall yn destyn galar a thristwch: trwy gymhorth trawsgyweiriad, gallwn fod yn orfoleddus gyda'r rhan orfoleddus o'r geiriau, ac yn yr un beroriaeth, gallwn ddilyn y rhan alarus o'r geiriau gyda drychfeddyliau a dueddai y y meddwl i alar a thristwch. Dosberthir trawsgyweiriad i ddau ddosbarth, sef trawsgyweiriad o'r cywair mwyaf, a thrawsgyweiriad o'r cywair lleiaf. Sylwn yn

I. Ar drawsgyweiriad o'r cywair mwyaf. Dosrenir y trawsgyweiriad hwn i bump o ddosranau; sef, dau drawsgyweiriad i'r cywair mwyaf, a thri i'r cywair lleiaf. Y cyntaf yw trawsgyweiriad o'r tonydd i'r llywydd, sef o'r cyweirnod i'w bumed, yn yr un cywair. Ffurfir y trawsgyweiriad hwn, drwy ddyrchafu haner tôn ar bedwarydd y cyweirnod.

ESIAMPL.

Trawsgyweiriad o C i G, ei phumed yn y cywair mwyaf.



Ni a ychwanegwn yr un esiampl yn y cyweirnod F, er dangos y drefn o ddefnyddio y naturiol i drawsgyweirio.

Trawsgyweiriad o F i C, ei phumed.



Oddiwrth yr esiamplau, gwelwn ein bod trwy ddyrchafu haner tôn ar bedwarydd y cyweirnod, yn ffurfio nod arweiniol i'r cyweirnod newydd, ac ar yr un pryd yn ffurfio y trawsgyweiriad.

Yr 2il yw trawsgyweiriad o'r tonydd i'r islywydd. Ffurfir y trawsgyweiriad hwn drwy ostwng haner tôn ar seithfed y cyweirnod.

ESIAMPL.

Trawsgyweiriad o C i F, ei phedwarydd yn y cywair mwyaf.



Ni a ychwanegwn yr un esiampl yn nghyweirnod G, er dangos y drefn o ddefnyddio naturiol mewn trawsgyweiriad.

Trawsgyweiriad o G i C, ei phedwarydd yn y cywair mwyaf.



Oddiwrth yr esiampl, gwelwn ein bod drwy ostwng haner tôn ar seithfed y cyweirnod, yn ffurfio pedwarydd y cyweirnod dechreuol yn gyweirnod newydd, a bod trydydd y cyweirnod dechreuol, yn ffurfio nôd arweiniol y cyweirnod newydd.

Y 3ydd yw trawsgyweiriad o'r tonydd i'w gyweirnod perthynasol. Sylwn yn gyntaf, mai sefyllfa cyweirnod perthynasol y cywair mwyaf, yw trydydd islaw y cyweirnod, fel y mae A yn drydydd islaw C. Yn ail, fod cyweirnod perthynasol y cywair mwyaf, bob amser, yn y cywair lleiaf. Ac yn drydydd, fod y trydydd islaw y llywydd, a'r trydydd islaw yr islywydd, yn gyweirnodau perthynasol iddynt, yr un modd ag y mae y trydydd islaw y tonydd yn gyweirnod perthynasol i'r tonydd.

ESIAMPL O'R 3YDD TRAWSGYWEIRIAD.

Trawsgyweiriad o C i A, cyweirnod perthynasol y tonydd yn y cywair lleiaf.



Oddiwrth yr esiampl gwelwn nad oes angen am un cywnewidiad er ffurfio trawsgyweiriad o'r tonydd i'w gyweirnod perthynasol, am fod yr haner tonau mewn sefyllfa briodol i'r ddau gyweirnod : ond rhaid ffurfio nôd arweiniol i bob cyweirnod yn y cywair lleiaf, os byddwn yn esgyn drwy y seithfed i'r cyweirnod.

Y 4ydd, yw trawsgyweiriad o'r tonydd i gyweirnod perthynasol y llywydd, sef y canolydd. Ffurfir y trawsgyweiriad hwn ar yr un egwyddor a'r trawsgyweiriad i'r llywydd, sef trwy ddyrchafu haner tôn ar bedwarydd y cyweirnod.

ESIAMPL.

Trawsgyweiriad o C i E, yn y cywair lleiaf.



Mynychwn yr esiampl yn nghyweirnod B *flat.*

Trawsgyweiriad o B i D, yn y cywair lleiaf.



Oddiwrth yr esiampl, gwelwn ein bod yn ffurfio y nôd arweiniol drwy ddefnyddio *sharp* ar eilfed y cyweirnod dechreuol.

Y 5ed, yw trawsgyweiriad o'r tonydd i gyweirnod perthynasol yr islywydd, sef yr ardonydd. Ffurfir y trawsgyweiriad hwn ar yr un egwyddor a'r islywydd, sef trwy ostwng haner tôn ar seithfed y cyweirnod.

ESIAMPL.

Trawsgyweiriad o C i D, yn y cywair lleiaf.



Mynychwn yr esiampl yn y cyweirnod D, er dangos effaith y naturiol ♮ mewn trawsgyweiriad.

Trawsgyweiriad o D i E, yn y cywair lleiaf.



Oddiwrth yr esiamplau, gwelwn ein bod yn ffurfio y nôd arweiniol drwy ddefnyddio *sharp* ar y cyweirnod dechreuol. Er mwyn gochel meithder, nyni a adawn yr esiamplau ar y trawsgyweiriad, heb eu trawsddodi i'r gwahanol gyweirnodau, gan ddymuno ar y myfyriwr eu

trawsddodi wrth ei hamdden; a thrwy hyny, bydd yn sicr o hyrwyddo ei hun mewn trawsddodiad, a thrawsgyweiriad; ac fel engraifft iddo, rhoddwn yr esiampl gyntaf wedi ei thrawsddodi i G a B♭.

Trawsgyweiriad o G i D.



Trawsgyweiriad o B i F.



Sylwn yn II. Ar drawsgyweiriad o'r cywair lleiaf. Dosrenir y trawsgyweiriad hwn i bump o wahanol drawsgyweiradau, sef dau yn y cywair lleiaf, a thri yn y cywair mwyaf.

Y 1af, yw trawsgyweiriad o'r tonydd i'r llywydd yn y cywair lleiaf. Ffurfir y trawsgyweiriad hwn trwy ddyrchafu haner tôn ar chweched y cyweirnod.

ESIAMPL.



Oddiwrth yr esiampl, gwelwn ein bod yn y *bar* cyntaf yn defnyddio *sharp* ar y G, er ffurfio nôd arweiniol i'r cyweirnod dechreuol; yn yr ail a'r trydydd *bar* yn defnyddio *sharp* ar D, er ffurfio nôd arweiniol i E, sef y cyweirnod newydd; ac yn y *bar* olaf yn defnyddio *sharp* ar F, er ffurfio y trawsgyweiriad, yn nghyd a ffurfio eilfed priodol i'r cyweirnod newydd.

Yr 2il, yw trawsgyweiriad o'r tonydd i'r islywydd yn y cywair lleiaf. Ffurfir y trawsgyweiriad hwn trwy ostwng haner tôn ar eilfed y cyweirnod; a thrwy yr un

gostyngiad y ffurfir chweched priodol i'r cyweirnod newydd.

ESIAMPL.

Trawsgyweiriad o A i D, ei phedwarydd yn y cywair lleiaf.



Y 3ydd, yw trawsgyweiriad o'r tonydd i'w gyweirnod perthynasol. Sylwn yn gyntaf, mai cyweirnod perthynasol y cywair lleiaf, yw y trydydd uwchlaw, fel y mae C y drydedd uwchlaw A. Yn ail, mae cyweirnod perthynasol y cywair lleiaf, bob amser, yn y cywair mwyaf. Yn drydydd, mae y trydydd uwchlaw y llywydd, a'r trydydd uwchlaw yr islywydd, yn gyweirnodau perthynasol iddynt, yr un modd ac y mae C yn gyweirnod perthynasol i A.

ESIAMPL O'R TRYDYDD TRAWSGYWEIRIAD.

Trawsgyweiriad o A i C, yn y cywair mwyaf.



Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod y *sharp* ar y G, yn ffurfio nôd arweiniol i'r cyweirnod dechreuol. Nid oes un cyfnewidiad yn angenrheidiol er trawsgyweirio o A i C, am fod yr haner tonau mewn sefyllfa briodol i'r ddau gywair.

Y 4ydd, yw trawsgyweiriad o'r tonydd i gyweirnod perthynasol y llywydd, sef seithfed y cyweirnod. Ffurfir y trawsgyweiriad hwn ar yr un egwyddor a'r llywydd, sef trwy ddyrchafu haner tôn ar chweched y cyweirnod.

ESIAMPL.

Trawsgyweiriad o A i G, yn y cywair mwyaf.



Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod y *sharp* ar F, yn y *bar* olaf, yn ffurfio nod arweiniol i'r cyweirnod newydd.

Y 5ed, yw trawsgyweiriad o'r tonydd i gyweirnod perthynasol yr islywydd, sef chweched y cyweirnod. Ffurfir y trawsgyweiriad hwn, ar yr un egwyddor a'r islywydd, sef trwy ostwng haner tôn ar eilfed y cyweirnod.

Trawsgyweiriad o A i F, yn y cywair mwyaf.



Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod y *sharp* ar y G yn ffurfio nod arweiniol i'r cyweirnod dechreuol, a'r B *flat* yn ffurfio y trawsgyweiriad, ac yn ffurfio pedwarydd priodol i'r cyweirnod newydd; ac y mae pumed y cyweirnod dechreuol yn ffurfio nod arweiniol i'r cyweirnod newydd yn naturiol.

---

### *Am Adferiad Trawsgyweiriad.*

Wedi i ni ddangos pa fodd, ac i ba le y gellir trawsgyweirio yn rheolaidd, un o'r gofyniadau mwyaf naturiol a ellir eu gofyn yw, pa fodd y gellir adferu y beroriaeth o'r trawsgyweiriad i'r cyweirnod dechreuol?

Ymdrechwn egluro y pwnc mor eglur ag a allwn, mewn pedwar o osodiadau.

1. Pan y byddom yn trawsgyweirio o unrhyw gyweirnod i'w gyweirnod perthynasol, nid oes angen am un cyfnewidiad er trawsgyweirio; felly, gan nad oes angen

am un cyfnewidiad i drawsgyweirio, gan hyny, nid oes angen am un cyfnewidiad pan yn adferyd y trawsgyweiriad.

2. Pan fyddom yn defnyddio *sharp* neu *flat* i drawsgyweirio, y drefn i adferyd o'r trawsgyweiriad hwnw, yw defnyddio y naturiol, i dynu ymaith effaith y *sharp* neu'r *flat*, a barodd i'r trawsgyweiriad gymeryd lle.

3. Pan fyddom yn defnyddio y naturiol i dynu effaith y *sharp* neu'r *flat*, a thrwy hyny, peri i drawsgyweiriad gymeryd lle, y drefn i adferyd y trawsgyweiriad hwnw, yw ail ddefnyddio y *sharp* neu'r *flat*.

4. Pan y mae un llais yn trawsgyweirio neu yn adferyd o drawsgyweiriad, rhaid i'r holl leisiau gyduno.

---

## PEN. XII.

### *Am y Corfanau a'r Aceniadau.*

CORFANAU ydynt adraniadau bychain a wneir ar linell o farddoniaeth; er esiampl, defnyddiwn y llinell, *Dym*-a | *geid*-wad | *i'r* coll- | *ed*-ig, | gwelwn fod y llinell yn cynwys pedwar corfan; felly gwelwn mai yr hyn sydd o'r naill sill acenedig i'r llall ydyw corfan. Acen ydyw y pwyslais a roddir ar ran benodol o'r corfan, megis y sillau argraffedig mewn llythyrenau italaidd.

Y mae y corfanau a arferir gan ein Beirdd, yn amrywiol a lluosog; ond cynwysir y rhai a arferir mewn salmau a hymnau, &c., mewn tri dosparth, sef corfan rhywiog, talgrwn, a chrychddisgynedig. Sylwn yn gyntaf, ar y corfan rhywiog. Ffurfir y corfan hwn yn fwyaf neillduol a gair deusill, yr hwn sydd a'r acen ar y sill gyntaf, megis *Dym*-a | *geid*-wad | &c.; gellir defnyddio gair un sill a gair tri sill er ffurfio dau gorfan, megis | *i'r* coll- | *ed*-ig; | gellir defnyddio gair pedwar sill er ffurfio dau gorfan, megis *Gor*-fol- | *edd*-wn; | neu gellir defnyddio dau air unsill

er ffurfio corfan, ond cofier y rhaid i'r sill gyntaf dderbyn yr acen yn y corfan rhywiog.

Er cynorthwyo y myfyriwr i ddeall y pwnc yn berffeithiach, nodwn esiamplau o wahanol benillion yn y corfan rhywiog. Y penillion sydd ar y corfan rhywiog ydynt y mesurau a rifnodir, 7, 8, 10, 21, 25, 39, 42, 49, 51, 54, 72, &c. Y mae yr acen, yn y corfan hwn, i fod ar y sillau 1, 3, 5, 7, &c., yn y llinell.

MESUR 7.

*Dym*-a | *geid*-wad | *i'r* coll- | *ed*-ig,
*Medd*-yg | *i'r* gwyw- | *ed*-ig | *rai*;
*Dym*-a | *un* sy'n | *car*-u | *madd*-eu
*(I) bech*-ad | *ur*-iaid | *mawr* eu | *bai*:
*Di*-olch | *idd*-o, &c.,
*Byth* am | *gof*-io | *llwch* y | *llawr*.

MESUR 21.

*Mae* rhyw | *dorf* ddi | *rif* o | *seint*-iau,
*'Nawr* yn | *chwar*-eu | *eu* tel- | *yn*-au;
*Ac* yn | *sein*-io | *ha*-le- | *lu*-ia,
*Dech*-reu | *An*-them | *pen* Cal- | *far*-ia.

MESUR 51.

*Fry* es- | *gyn*-odd | *mab* y | *dyn*,
*Trwy* ei | *werth*-fawr | *waed* ei | *hun*;
*Dwyn* tyst- | *iol*-aeth | *wnaeth* y | *nef*,
*I* fawr | *werth* ei | *a*-berth | *ef*.

Sylwn yn ail, ar y corfan talgrwn. Gellir ffurfio y corfan hwn hefyd a geiriau deusill, ond rhaid i'r acen ddisgyn ar y sill olaf, megis deff-*rown*, nes-*awn*, &c.; gellir defnyddio geiriau unsill, deusill, trisill, &c., yr un fel yn y corfan rhywiog; ond gofaler am i'r acen ddisgyn ar yr 2, 4, 6, 8 sill o'r llinell. Penillion y corfan hwn

ydynt y mesurau a rifnodir 1, 2, 3, 4, 5, 6, 9, 13, 14, 15, 16, 17, 18, 19, 26, 28, 29, 30, 31, 34, 35, 37, 38, 41, 43, 46, 52, 56, 57, a 58.

MESUR 1.

Llais | *mwyn* y | *bu*-gail | *da*
A | *rydd* i'm | *hedd* di- | *lyth*;
'Does | *de*-lyn | *yn* y | *nef* all | *wneud*
Per- | *or*-iaeth | *cys*-tal | *byth*.

MESUR 5.

Wrth | *droi* fy | *ngo*-lwg | *ym*-a'i | *lawr*,
I | *gyr*-au'r | *gre*-a | *dig*-aeth | fawr,
Gwrth- | *rych* ni | *wel* fy | *e*-naid | *gwàn*,
Ond | *Ies*-u i | *bwys*-o | *ar*-no'n | *rhan*.

MESUR 58.

Ar | *lan* Ior- | *ddo*-nen | *ddofn*,
'Rwyn | *oed*-i'n | *nych*-lyd;
Mewn | *blys* myn'd | *trwy*, ac | *ofn*
Ei | *storm*-ydd | *en*-byd:
O | *na* f'ai | *modd* i | *mi*
Ys- | *goi* ei | *hym*-chwydd | *hi*,
A | *hed*-fan | *uwch* ei | *lli*,
I'r | *Gan*-aan | *hyf*-ryd.

Sylwn yn drydydd, ar y corfan crychddisgynedig. Nid ydym yn gwybod am air unigol yn ein hiaith, all ffurfio y corfan hwn, o ganlyniad, rhaid ei gyfansoddi a geiriau, megis gair deusill ac unsill, &c.; er esiampl, defnyddiwn y llinell,

*Sein*-iwch y | *dym*-pan dros | *for* yr Aipht | *brudd*, &c.

Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod y corfan crychddisgynedig, yn gyfansoddedig o dair sill, y gyntaf yn acenol, yr ail a'r drydedd sill yn ddiaceniad. Rhoddwn esiampl o'r corfan hwn. Y penillion sydd ar y corfan hwn, ydynt

y mesurau a rifnodir 11, 12, 20, 22, 23, 45, 47, a 59. Y mae yr acen yn y corfan hwn, i fod ar y sillau 2, 5, 8, &c., o'r llinell.

MESUR 11.

O | *a*-gor fy | *lly*-gaid i | *wel*-ed
Try- | *sor*-au dy | *ar*-faeth a'th | *air*;
Mae'n | *well* i mi | *gyf*-raith dy | *e*-nau
Na | *mil*-oedd o | *ar*-ian nac | *aur*:
Y | *ddae*-ar â'n | *dân* a'i thry- | *sor*-au,
Ond | *geir*-iau fy | *Nuw* saif yr | *un*;
A'r | *byw*-yd tra- | *gwydd*-ol yw | *'na*-bod
Fy | *mhryn*-wr yn | *Dduw* ac yn | *ddyn*.

MESUR 47.

E- | *feng*-yl yr | *Oen*,
Am | *dan*-i bydd | *son*
Trwy'r | *bro*-ydd a'r | *bryn*-iau o'r | *bron*;
Hen | *Jer*-ri-co | *fawr*,
Yn | *llwyr* ddaw i'r | *llawr*,
Mae'r | *ud*-gyrn yn | *bloedd*-io wrth | *hon*.

Y mae rhai penillion heb fod yn perthynu i un corfan neillduol, ond y maent yn gyfansoddedig o wahanol gorfanau: mỳn rhai o'n beirdd, nad yw yn rheolaidd i un penill fod yn gyfansoddedig o fwy nac un corfan, mỳn eraill ei fod; nid y'm yn cymeryd arnom dori y ddadl; ond dywedwn y gall cerddoriaeth wneud y diffyg i fynu trwy newid ysgogiad y beroriaeth. Nodwn esiampl o'r cyfryw.

MESUR 24.

*Os* caf | *es*-gyn | *i'r* hardd | *drig*-fa
(I) *wel'd* go- | *gon*-iant | *y* Mes- | *si*-a;
*Pa* fath | *o*-lwg | *nef*-ol | *hyf*-ryd
*Fydd* ar | *D'wys*-og | *mawr* y | *byw*-yd!

*A* fydd | *ôl* yr | *hoel*-ion | *yn*-o,
*Yn* ei | *draed* ac | *yn* ei | *ddwy*-lo;
Ni | *hol*-a'i'n | *hwy*, caf | *wel*-ed | *mwy*.
Go- | *gon*-iant 'rwy'n | *cred*-u,
*Yn* y | *Drin*-dod | *i'w* ryf- | *edd*-u,
*Nag* all | *ca*-lon | *dyn* ddych- | *'my*-gu.

Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod y llinellau 1, 2, 3, 4, 5, 6, 10, yn perthyn i'r corfan rhywiog, y 7 linell i'r corfan talgrwn, a'r 8 i'r corfan crychddisgynedig.

Wedi sylwi ar y corfanau a'r aceniad, yn nghyd a nodi esiamplau o'r penillion, deuwn yn awr i sylwi yn fwy uniongyrchol arnynt, yn eu perthynas a cherddoriaeth. Wrth ganu unrhyw beroriaeth dylem seinio y rhan acenawl o'r *bar* yn ychydig eglurach a mwy nerthol na'r rhan diacen; ond dylem ochelyd hynodrwydd gormodol gyd a'r peth hwn, gan ddilyn gweddeidd-dra a symylrwydd.

1. Nodwn esiampl, er dangos y modd y mae acen y farddoniaeth yn nghyd ag acen y gerddoriaeth yn cyddaro a'u gilydd yn y corfan rhywiog. Dywedwyd o'r blaen fod yr acen yn y corfan hwn, bob amser, ar y sillau 1, 3, 5, a'r 7, &c.; gan hyny, y sillau diacen, ydynt yr 2, 4, 6, &c. Pan y bo'r beroriaeth yn cynwys dau symudiad yn y *bar*, y mae yr acen, bob amser, i ddisgyn ar y rhan gyntaf o'r *bar*, a'r ail ran yn ddiacen.

ESIAMPL.




Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod corfan o'r farddoniaeth yn cyfateb i'r *bar* mewn cerddoriaeth.

Pan y byddo'r beroriaeth yn cynwys pedwar symudiad yn y *bar*, y mae yr acen yn disgyn ar y rhanau 1, a'r 3, a'r 2, a'r 4 yn ddiacen.

ESIAMPL.



| *Dym*-a | *Geid*-wad | *i'r* coll- | *ed*-ig.

Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod *bar* o'r beroriaeth yn cynwys dau gorfan o'r farddoniaeth.

Pan y bo'r beroriaeth yn cynwys saith neu wyth symudiad yn y *bar*, y mae yr acen yn disgyn ar y rhanau 1, 3, 5, a'r 7.

ESIAMPL.



| *Byth* am | *gof*-io | *llwch* y | *llawr*.

Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod *bar* o'r beroriaeth yn cynwys pedwar corfan o'r farddoniaeth.

2. Nodwn esiampl, er dangos y modd y mae acen y farddoniaeth yn cyd-daro ag acen y gerddoriaeth, yn y corfan talgrwn. Dywedwyd o'r blaen fod yr acen yn y corfan hwn, bob amser, ar y sillau 2, 4, 6, a'r 8 o'r llinell, a'r sillau 1, 3, 5, a'r 7 yn ddiacen. Sylwer, rhaid i'r acen ddisgyn ar y rhanau 1, 3, 5, a'r 7 o'r *bar*. Perthyna y gwahanol symudiadau, sef dau, pedwar, neu wyth, symudiad yn y *bar*, yr un modd yn y corfan hwn a'r corfan rhywiog. Ond gan nad oes acen ar y sill gyntaf yn y corfan hwn, rhaid i'r symudiad cyntaf fod yn wahanol.

ESIAMPLAU.




ESIAMPL WAHANOL.




ESIAMPL YN YR AMSER TRIPHLYG.




3. Nodwn esiamplau, er dangos y modd y mae acen y farddoniaeth yn cyd-daro ag acen y gerddoriaeth yn y corfan crychddisgynedig. Dywedwyd o'r blaen fod yr acen yn y corfan hwn ar y sillau 2, 5, a'r 8 o'r llinell. Rhaid i'r *bar* gynwys tri symudiad gyda'r corfan hwn, a rhaid i'r acen ddisgyn ar y rhan gyntaf o'r *bar*, a'r ail, yn nghyd a'r drydedd yn ddiacen.

ESIAMPL.




ESIAMPL WAHANOL.




Oddiwrth y gwahanol esiamplau, gwelwn mai y gamp ydyw deall sefyllfa briodol acen y farddoniaeth, yn nghyd

a sefyllfa briodol yr acen yn y *bar* ; a swm y cwbl yw gosod acen y farddoniaeth i gyd-daro ag acen y beroriaeth.

---

## PEN. XIII.

*Am y Nodau Addurnawl,* (Notes of Embellishment.)

NODAU addurnawl a arferir er prydferthwch a lledneisrwydd yn y beroriaeth.

Y laf yw y Gogwyddnod, (*Appogiatura.*) Gogwyddnod sydd nod bychan a arferir er addurno y nod dilynol. Yn gyffredin, caniateir haner y nod perthynol iddo.

ESIAMPLAU.

Ysgrifenedig fel hyn.



I'w canu fel hyn.



Ysgrifenedig fel hyn.



I'w canu fel hyn.



Pan ddefnyddir y gogwyddnod o flaen nod a *dot,* y mae yn cymeryd dwy ran o dair o amser y nod.

ESIAMPL.

Ysgrifenedig fel hyn.




I'w canu fel hyn.



Arferir y gogwyddnod hefyd, er rhwyddhau ac esmwythau y neidiadau.

ESIAMPL.

Ysgrifenedig fel hyn. I'w canu fel hyn.



Sylwer, y mae yr amser a roddir ar y gogwyddnod i'w gymeryd o amser y nod perthynol iddo.

Yr 2il yw y Siglnod, (*Shake or Trill.*) Arwydda y siglnod y dylid seinio y nod yn gyflym ac ystwyth, bob yn ail a'r cyfrwng, neu y llinell nesaf uwchlaw.

Ysgrifenedig fel hyn. I'w canu fel hyn




Gwell peidio ymwneud ag un addurnod, os na ellir ei gyflawni yn briodol, os amgen, bydd yn anaddurno y beroriaeth.

Y 3ydd yw y Chwyddnodau, (*Swells.*) Y mae arwyddluniau y chwyddnodau yn wahanol, a dylid cryfhau a lleihau y swn yn ol arwyddlun y chwyddnod.

ESIAMPLAU.



Dylid dechreu gyda'r arwyddlun cyntaf yn isel a gwan, a diweddu yn gryf a nerthol. Dylid dechreu gyd a'r ail yn gryf a nerthol, a diweddu yn isel a gwan. Dylid dechreu gyd a'r trydydd yn isel a gwan, a chynyddu y swn yn raddol hyd haner amser y nod perthynol iddo, a

diweddu trwy leihad graddol. Pa chwyddnod bynag a ddichon ein cyfarfod, dylem ychwanegu, neu leihau y swn, yn ol yr arwyddlun.

Y 4ydd yw y Byrseiniau, (*Staccatto*). Dylid canu y nodau y bo'r byrseiniau ꞌ ꞌ ꞌ oddiarnynt neu odditanynt, yn fyr ac eglur, a chadw y gweddill o'r amser trwy orphwys.

ESIAMPL.

Ysgrifenedig fel hyn. I'w canu fel hyn.





ESIAMPL ARALL O FYRSEINIAU ....

Ysgrifenedig fel hyn. I'w canu fel hyn.





Y 5ed yw y Ffigyrau Addurnawl, ⌒2 ⌒4 &c.

ESIAMPL.




Pan y byddo ⌒2 wedi ei ddodi uwchben tri o nodau, dylid eu canu yn amser dau o'r cyfryw heb y ffigyrau; a'r un egwyddor pan fyddo ⌒4 wedi ei ddodi uwchben chwech o nodau.

ESIAMPL.



Arferir amrai o ffigyrau addurnawl heblaw yr esiamplau a nodwyd, ond hyderwn fod yr hyn a nodwyd yn ddigonol er amlygu yr egwyddor yn mhob amgylchiad.

Arfera rhai awduron y ffigyr 3 yn lle 2, a'r 6 yn lle 4. Sylwer, yr arferiad sydd yn gwahaniaethu ac nid yr egwyddor.



# RHAN II.

## PENNOD I.

*Am Gynghanedd,* (Harmony.)

Cynghanedd ydyw dau, neu ychwaneg o seiniau cerddorawl wedi uno a'u gilydd, a'u seinio ar yr un pryd. Cyn myned yn mhellach, y mae yn angenrheidiol i ni wneud sylwadau eglurhaol ar seiniau cerddoriaeth. Dosberthir seiniau cerddoriaeth i ddau ddosbarth, sef cydseiniaid ac annghydseiniaid. Sylwn yn

1. Ar y cydseiniaid. Y cydseiniaid yw y seiniau sydd yn effeithio er peri hyfrydwch i'r glust, wrth eu seinio ar yr un pryd. Dosberthir cydseiniaid i ddau ddosbarth, sef cydseiniaid perffaith, a chydseiniaid anmherffaith. Y cydseiniaid perffaith ydynt yr unsain, y pumed perffaith, a'r wythfed.

Unsain. 5ed perffaith. Wythfed.



Rhif yr haner tonau, 7, 12.

Y cydseiniaid anmherffaith ydynt y trydydd mwyaf a'r trydydd lleiaf, yn nghyd a'r chweched mwyaf a'r chweched lleiaf.

3ydd mwyaf. 3ydd lleiaf. 6ed mwyaf. 6ed lleiaf.



Rhif yr ½ tonau. 4, 3, 9, 8.

Oddiwrth yr esiamplau, gwelwn y gellir ychwanegu haner ton at y trydydd lleiaf, a'r chweched lleiaf, a'u ffurfio yn drydydd ac yn chweched mwyaf; neu gellir tynu haner ton oddiwrth y trydydd neu y chweched

mwyaf, a'u ffurfio yn drydydd neu yn chweched lleiaf, ac iddynt barhau yn gydseiniaid anmherffaith. Ond y cydseiniaid perffaith ydynt bob amser yr un; h.y. nis gellir ychwanegu haner ton atynt, na thynu haner ton oddiwrthynt. Sylwn yn

2. Ar yr annghydseiniaid. Annghydseiniaid ydynt y seiniau sydd yn effeithio er peri anhyfrydwch i'r glust, wrth eu seinio ar yr un pryd; sef y ddau eilfed, y ddau bedwarydd, y pumed lleiaf, yn nghyd a'r ddau seithfed.

ESIAMPL.




Wedi i ni sylwi ar seiniau cerddoriaeth, arweinir ni yn nesaf i wneuthur sylwadau eglurhaol ar y drefn o uno y gwahanol seiniau er ffurfio *cords*.

---

## PEN. II.

### *Am y* Cord *Cyffredin*, (Common Cord.)

Hwn yw y pwysicaf o'r holl *gords*, ac ystyrir ef megis gwreiddyn iddynt. Y mae bob peroriaeth, ïe, bron bob brawddeg reolaidd o gerddoriaeth, yn diweddu trwy y *cord* hwn, ac yn gyffredin yn dechreu trwyddo. Ni a sylwn ar y *cord* cyffredin yn y drefn a ganlyn:—1. Ei gyfansoddiad. 2. Ei gyflëad. 3. Ei ddefnyddiad. 4. Ei symudiad. 5. Yr arferiad a wneir ag ef. 6. Sylwadau ar y *cord* cyffredin anmherffaith.

Yn 1. Ei gyfansoddiad. Wrth gyfansoddiad *cord* y deallir, y defnyddiad a wneir o seiniau er ffurfio *cord*. Cyfansoddir y *cord* cyffredin o dair o wahanol seiniau, megis sain y cyweirnod, yn nghyd a'i drydydd a'i bumed perffaith.

ESIAMPL.



Er ffurfio pedwar o leisiau, gellir ychwanegu yr wythfed; sylwyd o'r blaen nad oes ond saith o wahanol seiniau mewn cerddoriaeth, felly, gwelwn nad yw yr wythfed sain amgen nag ail adroddiad o'r sain gyntaf. Y drefn fwyaf syml o ddefnyddio y *cord* cyffredin, yw yr un a ganlyn:—

ESIAMPL.




Rhifnodir y *cord* hwn weithiau a $\substack{8\\5\\3}$, ond yn fwyaf mynych, gadewir ef heb yr un rhifnod.

Dosberthir y *cord* cyffredin i ddau ddosbarth, sef *cord* cyffredin mwyaf, yn nghyd a'r *cord* cyffredin lleiaf. Sylwer, pan fyddo trydydd y *cord* hwn yn drydydd mwyaf, bydd y *cord* hefyd yn fwyaf.

ESIAMPL.




Pan fyddo trydydd y *cord* yn drydydd lleiaf, bydd y *cord* hefyd yn lleiaf.

ESIAMPL.




Sylwer, pa un bynag ai mwyaf neu ynte lleiaf fyddo trydydd y *cord*, rhaid i'r pumed, bob amser, fod yn bumed perffaith.

Yn 2. Ei gyflëad. Wrth gyflëad *cord*, y deallir sefyllfa y seiniau oddiwrth y *bass*. Pan ddoder y *cord* yn drydydd, pumed, ac wythfed oddiwrth y *bass*, gelwir ef, cyflëad cyntaf. Pan ddoder y *cord* yn bumed, wythfed, a'r trydydd yn uwchaf, gelwir ef, ail gyflëad. Pan ddoder y *cord* yn wythfed, trydydd a'r pumed yn uwchaf, gelwir ef, trydydd cyflëad.

ESIAMPL.

Cyflead 1af. 2il gyflead. 3ydd cyflead.



Dywedwyd nad yw yr wythfed amgen nac ail adroddiad o'r sain gyntaf. Gellir peidio defnyddio yr wythfed, os dewisir, a dyblu y trydydd, er ffurfio pedwar o leisiau.

ESIAMPL.



Neu os dewiser, gellir dyblu y pumed, er ffurfio pedwar o leisiau.

ESIAMPL.



Oddiwrth yr esiamplau, gwelwn mai yr un yw y *bass* yn mhob cyflëad.

Yn 3. Ei ddefnyddiad. Wrth ddefnyddiad *cord*, y deallir y defnydd a wneir a'r *cord* mewn peroriaeth. Defnyddir y *cord* cyffredin mewn tri o brif leoedd yn y ddau gywair, sef ar y tonydd, y llywydd, a'r islywydd. Sylwer, rhaid i'r *cord* cyffredin ar y llywydd bob amser, fod yn fwyaf, ïe, yn y cywair lleiaf; ond y mae *cord* cyffredin ar y tonydd a'r islywydd yn fwyaf, neu leiaf, yn ol fel y bo cywair y beroriaeth; h. y. os bydd y cywair yn fwyaf, bydd y *cord* hefyd yn fwyaf; ond os bydd y cywair yn lleiaf, bydd y *cord* yr un modd yn lleiaf.

Yn 4. Ei symudiad. Wedi i ni hysbysu am y prif leoedd y gwasanaetha y *cord* cyffredin ynddynt, rhoddwn yn awr esiamplau er dangos ei wahanol symudiadau yn ei brif leoedd. Ei symudiad cyntaf yw o'r tonydd i'r llywydd. Yr ail, o'r llywydd i'r tonydd. Y trydydd, o'r tonydd i'r islywydd. Y pedwarydd, o'r islywydd i'r

tonydd. Y pumed, o'r islywydd i'r llywydd. A'r chweched, o'r llywydd i'r islywydd. Sylwer; nid yw y symudiad o'r llywydd i'r islywydd yn rheolaidd, ond yn unig pan fyddo *cord* y llywydd yn diweddu brawddeg gerddorawl, a *cord* yr islywydd yn dechreu brawddeg newydd.

ESIAMPL O'R SYMUDIADAU YN Y CYWAIR MWYAF.

1af, o'r tonydd i'r llywydd. 2il, o'r llywydd i'r tonydd.



3, o'r tonydd i'r islywydd. 4, o'r islywydd i'r tonydd.



5, o'r islywydd i'r llywydd. 6, o'r llywydd i'r islywydd.



ESIAMPL O'R SYMUDIADAU YN Y CYWAIR LLEIAF.

1af, o'r tonydd i'r llywydd. 2il, o'r llywydd i'r tonydd.



3, o'r tonydd i'r islywydd. 4, o'r islywydd i'r tonydd.



5, o'r islywydd i'r llywydd. 6, o'r llywydd i'r islywydd.



Perthyna yr un sylwadau i'r chweched symudiad yn y cywair lleiaf a'r cywair mwyaf.

*Symudiad y lleisiau.*

Wrth sylwi ar wahanol symudiadau y gerddoriaeth, a'u cydmaru a'u gilydd, cawn eu bod yn gynwysedig mewn tri o wahanol foddau; sef cydsymudawl, gwrthsymudawl, gŵyrsymudawl. Sylwn yn 1af. Ar y modd cydsymudawl (*similar motion*). Pan y byddo dau lais yn cydsymud trwy esgyn, neu trwy ddisgyn, gelwir y cyfryw symudiadau y modd cydsymudawl.

ESIAMPL.



Sylwn yn 2il. Ar y modd gwrthsymudawl (*contrary motion*). Pan y byddo dau lais yn symud yn groes i'w gilydd; h. y. y naill yn esgyn, a'r llais arall yn disgyn, gelwir y cyfryw symudiad, y modd gwrthsymudawl.

ESIAMPL.

Sylwn yn 3ydd. Ar y modd gŵyrsymudawl (*oblique motion*). Pan y mae un llais yn sefydlog ar un sain, a'r llais arall yn symud trwy esgyn neu ddisgyn, gelwir y cyfryw symudiad y modd gŵyrsymudawl.

ESIAMPLAU.

Fel hyn. Neu fel hyn.

*Symudiad y cydseiniad.*

Wrth ddefnyddio y cydseiniaid, naill ar ol y llall, dylid sylwi ar, ac astudio y rheolau a ganlyn gyda manylrwydd.

Rheol 1af. Y mae yn afreolaidd defnyddio wythau yn y modd cydsymudawl; gan hyny, y mae yr esiampl isod yn feius ac i'w gochelyd:—

ESIAMPL.

Fel hyn. Neu fel hyn.

8 8 8 8

Rheol 2il. Y mae yn afreolaidd defnyddio pumpau perffaith yn y modd cydsymudawl, gan hyny y mae yr esiampl hon hefyd yn feius, ac i'w gochelyd:—

ESIAMPL.

Fel hyn. Neu fel hyn.




Gelwir yr wythau a'r pumpau uchod, yn wythau a phumpau amlwg, er eu gwahaniaethu oddiwrth wythau a phumpau cuddiedig.

Rheol 3ydd. Gellir defnyddio pumpau yn y modd cydsymudawl pan fo y naill yn bumed perffaith, a'r llall yn bumed lleiaf.

ESIAMPL.

Fel hyn. Neu fel hyn.



Rheol 4ydd. Y mae yn afreolaidd symud o unrhyw sain i gydsain berffaith yn y modd cydsymudawl, gan hyny y mae yr esiamplau isod yn feius, ac i'w gochelyd:—

ESIAMPL.

Symudiadau afreolaidd i'r wythfed.



Fel hyn, 3, 8, neu 5, 8, neu 6, 8.

Symudiadau afreolaidd i'r pumed perffaith.



Fel hyn, 3, 5, neu 6, 5, neu 8, 5.

Gelwir symudiadau yr esiamplau uchod, wythau a phumpau cuddiedig, ac y maent agos mor feius a gwrthun a'r wythau a'r pumpau amlwg. Addysgir ni gan amryw awdwyr ei fod yn oddefol i lanw y symudiadau a fo yn symud trwy neidiau yn yr *air*, a'u cyfleu yn symudiadau graddol, os bydd hyny i'w ddymuno: os felly, pan renir nôd er llanw cyfrwng y naid, y mae yr wythau a'r pumpau cuddiedig yn dod yn hollol o'r un natur a'r wythau a'r pumpau amlwg.

ESIAMPLAU.

Wythau cuddiedig yn dod yn wythau amlwg.







Pumpau cuddiedig yn dod yn bumpau amlwg.







Oddiwrth yr esiamplau, gwelwn ein bod wrth ranu y nôd er llanw y cyfrwng, yn dangos y modd y mae wythau a phumpau cuddiedig yn ffurfio wythau a

phumpau amlwg, ac y mae hyny yn ddigon o reswm er profi nad yw y cyfryw symudiadau yn rheolaidd.

Dylid sylwi ar y rheol uchod gyda manylrwydd yn y prif leisiau, sef yr *air* a'r *bass*. Ond goddefir troseddiadau yn fwy rhwydd gyda'r *counter* a'r *tenor*, yn enwedig pan fyddont yn cydsymud mewn modd gwrthsymudawl i'r *air* a'r *bass*.

Rheol 5ed. Pan fyddo y *bass* yn neidio pedwar; a'r llais uwchaf yn symud trwy raddau, y mae yn oddefol symud i gydsain berffaith yn y modd cydsymudol.

ESIAMPLAU.

Fel hyn,




Neu fel hyn.




Rheol 6ed. Na ddefnyddier dau o drydydd mwyaf yn y modd cydsymudawl, oddieithr mewn diweddeb, neu pan na aller eu hebgor.

ESIAMPL I'W GOCHELYD.




Rheol 7fed. Nid yw dau neu ychwaneg o'r chwechau lleiaf, yn gymeradwy yn y modd cydsymudawl, yn neillduol mewn cynghanedd syml.

ESIAMPL I'W GOCHEL.



Gellir defnyddio y trydyddau mwyaf a'r chwechau lleiaf bob yn ail a'r trydyddau lleiaf a'r chwechau mwyaf: gellir defnyddio chwechau mwyaf yn nghyd a thrydyddau lleiaf, drwy neidiau a symudiadau graddol.

Rheol 8fed. Dylai y trydydd mwyaf, pan yn ffurfio nod arweiniol, esgyn un radd wrth symud i'r *cord* dilynol.

ESIAMPL.

Fel hyn, ac nid fel hyn.



Rheol 9fed. Nid yw yn oddefol dyblu y nôd arweiniol, yn enwedig ar y rhan bwysleisiol o'r *bar*.

Rheol 10fed. Pan ddefnyddier *cords* gwahanol, ac un nôd yn cael ei ddefnyddio ar yr un llinell neu gyfrwng yn y ddau, gelwir y nôd hwnw, yn nôd cysylltiadol.

Dylid defnyddio y nôd cysylltiadol yn yr un llais yn y *cords,* ac nid mewn lleisiau gwahanol.

ESIAMPL.

Fel hyn, ac nid fel hyn.



Sylwer, y nôd cysylltiadol yw G.

Yn 5ed. Yr arferiadau a wneir a'r *cord* cyffredin.

Arferir y *cord* cyffredin ar eilfed, a thrydydd, a chweched y cyweirnod; ond anfynych iawn, mewn cydmariaeth i'r *cord* cyffredin ar y tonydd, y llywydd, a'r islywydd, yn enwedig gan gyfansoddwyr diweddar. Yr ychydig arferiad a wneir ag ef ar achosion neillduol ydynt, yn 1af. Arferir y *cord* cyffredin ar eilfed y cywirnod, pan ddilynir ef ar y llywydd.

ESIAMPL.



2il. Ar y chweched. Arferir y *cord* cyffredin ar y chweched, mewn pedwar amgylchiad; yn 1af, Pan ragflaenir ef ar y tonydd.

ESIAMPL.



2il, Pan ragflaenir ef ar y llywydd.

ESIAMPL.



3ydd, Pan ddilynir ef ar yr islywydd.

ESIAMPL.



4ydd, Pan ddilynir ef ar y llywydd.

ESIAMPL.



Arferir y *cord* cyffredin ar drydydd y cyweirnod pan ragflaenir ef ar y *cord* cyffredin ar y llywydd.

ESIAMPL.



Caniateir defnyddio y *cords* blaenorol mewn amgylchiad caeth, ac mewn ehediant *(fuges)*. Ond gwneuthur

arferiad diangen o honynt mewn achosion cyffredin, nid yw amgen na throsedd o'r rheol a phrawf o anwybodaeth.

6. Am y *cord* cyffredin anmherffaith. Ffurfir y *cord* hwn, pan ddefnyddir *cord* cyffredin ar y nod arweiniol yn y ddau gywair, yn nghyd ac ar eilfed y cywair lleiaf. Cyfansoddir ef drwy ychwanegu y trydydd lleiaf, yn nghyd a'r pumed lleiaf at ei nod sylfaenol. Pan ddefnyddir y *cord* hwn ar y nod arweiniol, dylai y *bass* symud trwy esgyn i'r cyweirnod, a rhaid i'r pumed wrthsymud trwy ddisgyn un radd.

ESIAMPL.




Fe allai mai nid anfuddiol fyddai i ni wneud ychydig sylwadau ychwanegol ar ddefnyddiad a symudiad y *cord* cyffredin.

Fe wel y darllenydd yn yr esiamplau o'r *cord* cyffredin, mai *bass* sylfaenol y trydydd, y pumed, a'r wythfed yw y tonydd; *bass* sylfaenol yr eilfed a'r seithfed yw y llywydd; ac mai *bass* sylfaenol y pedwarydd a'r chweched yw yr islywydd.

Ein gorchwyl nesaf fydd cyfleu y raddfa naturiol ar ddull sylfon* (*subject*); yna dodwn y *bass* sylfaenol perthynol i bob nod o'r raddfa yn gyferbyniol.

ESIAMPL.




Ein gorchwyl nesaf yw llanw'r gynghanedd, yr hyn a gyflawnir drwy ychwanegu y trydydd, y pumed, neu'r

* Sylfon yw *groundwork.*

wythfed, at y nod sylfaenol. Dylid cymeryd y rhyddid mwyaf gyda'r gorchwyl hwn. Dewiser yr un a fyner o'r tri chyflëad, gellir dyblu y trydydd, y pumed, neu ychwanegu yr wythfed. Cofier rhoddi cymaint o beroriaeth (*melody*) yn mhob llais ag a fo yn ddichonadwy.

Ail ddefnyddiwn yr esiampl flaenorol wedi llanw'r gynghanedd, ac wedi ei thrawsddodi i'r cyweirnod G.




Ffurfiwyd y cyfnewidiad, sef *cord* y seithfed, &c., yn y pedwarydd *bar*, er gochel 8au a 5au dilynol, ac hefyd, er ffurfio diweddeb (*cadence*).

Da fyddai i'r myfyriwr drawsddodi yr esiampl uchod i'r gwahanol gyweirnodau.

Nid ydym yn rhoddi yr esiampl uchod fel un i'w harfer bob amser, ond yn hollol i'r gwrthwyneb. Canfyddir y rhesymoldeb o'i defnyddio, pan ystyrir mai am y *cord* cyffredin yr ymdrinir ar hyn o bryd. Dywedwyd mai o'r *cord* cyffredin y tardda y *cords* oll: gellir dywedyd mai o'r esiampl uchod y tardda gwir sylfaen cynghanedd. Nid ydym wrth ddywedyd hyn yn dibrisio y *cords* tarddiedig mewn un radd, ond dywedwn eu bod yn peri amrywiaeth, hyfrydwch, a boddhad neillduol i'r glust, ac yn peri i symudiadau y beroriaeth fod yn ystwyth, esmwyth, a naturiol.

---

## PEN. III.

Cord *y chweched, sef gwrthddull cyntaf y* cord *cyffredin.*

Defnyddir y *cord* hwn yn fynych iawn, ac efe yw y *cord* nesaf ei berthynas i'r *cord* cyffredin. Nyni a sylwn ar y *cord* yn y drefn a ganlyn;—1. Ei gyfansoddiad 2. Ei ffurfiad. 3. Ei gyflëad. 4. Ei ddefnyddiad. 5. Yr arferiad a wneir ag ef. Sylwn yn

1. Ei gyfansoddiad. Y mae *cord* y chweched yn gyfansoddedig o dair sain, sef nod y *bass*, ei drydydd, a'i chweched. Rhifnodir y *cord* hwn weithiau â §, ond yn fwyaf mynych â'r rhifnod 6 yn unig:—

ESIAMPL.




Wrth gyfrif cyfryngau *cords*, dylid dechreu bob amser yn y *bass*.

2. Ei ffurfiad. Ffurfir y *cord* hwn trwy ddefnyddio trydydd y *cord* cyffredin yn y *bass*, yn lle y nôd gwreiddiol:—

ESIAMPLAU.

Y *cord* gwreiddiol, sef y *cord* cyffredin.




*Cord* y chweched, sef gwrthddull cyntaf *cord* cyffredin.




Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod *cord* y chweched yn tarddu o'r *cord* cyffredin, ac mai trwy ddefnyddio trydydd y *cord* cyffredin yn y *bass*, yn lle y nod gwreiddiol, y ffurfir *cord* y chweched; gan hyny, gwelwn yn amlwg mai gwreiddyn *cord* y chweched, yw y *cord* cyffredin.

3. Ei gyflëad. Dywedwyd fod y *cord* hwn yn gyfansoddedig o dair o wahanol seiniau. Gellir ffurfio pedwaredd sain mewn tri o wahanol ddulliau.—Yn 1. Trwy ychwanegu yr wythfed. Yn 2. Trwy ddyblu y chweched. Yn 3. Trwy ddyblu y trydydd.

1. Gellir ychwanegu yr wythfed mewn tri o wahanol gyflëadau.

ESIAMPLAU.

Cyflead cyntaf. Ail gyflead. Trydydd cyflead.



6 6 6

2. Geilir dyblu y chweched fel hyn,—



Neu
fel hyn,—



6 6

3. Gellir dyblu y trydydd fel hyn,—



Neu
fel hyn,—



6 6

Wrth ffurfio pedwaredd sain i'r *cord* hwn, gall y cyfansoddwr ddewis yr un a fyno o'r esiamplau blaenorol, yn ol fel y bo'r gynghanedd yn caniatau oreu; ond dylid manwl sylwi ar y rheolau a ganlyn.

Rheol 1. Pan ddefnyddir y chweched lleiaf, yn nghyd a'r trydydd lleiaf, gellir dewis yr un a fyner o'r tri dull; sef naill ai ychwanegu yr wythfed, dyblu y chweched, neu ddyblu y trydydd:—



6 6 6

Gellir defnyddio yr un rhyddid pan fyddo y chweched a'r trydydd eill dau yn fwyaf.

Rheol 2. Nid yw yn oddefol ychwanegu yr wythfed at *cord* y chweched, pan ddefnyddir ef ar y nôd arweiniol: yn y cyfryw amgylchiad, gellir dyblu y trydydd, neu y chweched.

ESIAMPL.




Rheol 3. Nid yw yn oddefol dyblu y chweched pan ddefnyddir ef ar eilfed y cyweirnod, o blegid fod y chweched yn nôd arweiniol: yn y cyfryw amgylchiad, gellir dyblu y trydydd, neu ychwanegu yr wythfed.

ESIAMPL.




Sylwer, gwrthddull cyntaf *cord* cyffredin anmherffaith, yw y *cord* uchod.

4. Ei ddefnyddiad. Dywedwyd fod y *cord* cyffredin i'w ddefnyddio ar y tonydd, y llywydd, a'r islywydd.

Dangoswyd y modd y mae *cord* y chweched yn tarddu o'r *cord* cyffredin, a bod sefyllfa *cord* y chweched ar y trydydd uwchlaw y *cord* cyffredin; felly, gwelwn yn amlwg fod sefyllfa *cord* y chweched ar y trydydd uwchlaw y tonydd, y llywydd, a'r islywydd. Trwy ddefnyddioldeb *cord* y chweched a'r *cord* cyffredin, yn nghyd a gwrthddull cyntaf y *cord* cyffredin anmherffaith, galluogir ni i gynghaneddu holl nodau y raddfa, gyda chynghanedd briodol ar bob nôd.

ESIAMPL.




Oddiwth yr esiampl, gwelwn fod y *cord* cyffredin yn cael ei ddefnyddio yn ei dair brif sefyllfa; sef ar y tonydd, y llywydd, a'r islywydd: hefyd, gwelwn fod *cord* y chweched yn cael ei ddefnyddio yn ei dair brif sefyllfa; sef ar y trydydd uwchlaw y tonydd, y llywydd, a'r islywydd; yn nghyd a gwrthddull cyntaf *cord* cyffredin anmherffaith ar D.

5. Yr arferiad a wneir a *cord* y chweched. Arferir *cord* y chweched ar bob nod o'r raddfa.

ESIAMPL.




Na ddefnyddier *cords* anmhriodol mewn achosion cyffredin, am eu bod heb wreiddiau priodol; ond goddefir hwy ar amgylchiadau caeth, ac mewn ehediant.

---

## PEN. IV.

Cord *y chweched ar pedwarydd, sef ail wrthddull y* cord *cyffredin.*

NYNI a sylwn ar y *cord* yn y drefn a ganlyn:—Yn 1. Ei gyfansoddiad. 2. Ei ffurfiad. 3. Ei gyflëad. 4. Ei ddefnyddiad. Sylwn yn

1. Ei gyfansoddiad. Y mae y *cord* hwn yn gyf-

ansoddedig o dair sain, sef nod y *bass*, ei chweched, a'i bedwarydd. Rhifnodir y *cord* a $^{6}_{4}$.

ESIAMPL.




2. Ei ffurfiad. Ffurfir *cord* $^{6}_{4}$ drwy ddefnyddio pumed y *cord* cyffredin yn y *bass*, yn lle y nod gwreiddiol.

ESIAMPL.

Y *cord* gwreiddiol. Gwrthddull cyntaf. Ail wrthddull.




Ychwanegwyd yr wythfed yn yr esiampl, er ffurfio pedwar o leisiau. Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod *cord* $^{6}_{4}$ yn tarddu o'r *cord* cyffredin, ac mai trwy ddefnyddio pumed y *cord* cyffredin yn y *bass* y ffurfir *cord* $^{6}_{4}$.

3. Ei gyflëad. Cyflëir *cord* $^{6}_{4}$ i dri o wahanol gyflëadau.

ESIAMPL.

Cyflead 1af. 2il gyflead. 3ydd cyflead.



Rheol 1. Pan ddefnyddir y *cord* $^{6}_{4}$ ar y tonydd, a'r llywydd, gellir dyblu y chweched, neu y pedwarydd, os bydd hyny yn fwy dewisol na ychwanegu yr wythfed.

Rheol 2. Nid yw yn oddefol dyblu y chwechedd pan ddefnyddir *cord* $^{6}_{4}$ ar eilfed y cyweirnod, gellir dyblu y pedwarydd, neu ychwanegu yr wythfed yn y cyfryw amgylchiad.

ESIAMPLAU.




4. Ei ddefnyddiad. Dywedwyd fod y *cord* cyffredin i'w ddefnyddio ar y tonydd, y llywydd, a'r islywydd. Dywedwyd hefyd fod sefyllfa *cord* y $^{6}_{4}$ ar y pumed uwchlaw y *cord* cyffredin; felly gwelwn fod y *cord* $^{6}_{4}$ i'w ddefnyddio ar y llywydd, y tonydd, ac eilfed y cyweirnod.

Rheol 1. Pan ddefnyddir *cord* $^{6}_{4}$ pryd y byddo nod y *bass* yn parhau, dylid ei ragflaenu a'i ddilyn a'r *cord* cyffredin o'r unrhyw nôd.

ESIAMPL.




Rheol 2. Pan ddefnyddir *cord* $^{6}_{4}$ pryd na byddo y *bass* yn parhau, dylid paratoi ac adteryd y pedwarydd, yn y cyfryw amgylchiad.

ESIAMPLAU.

P T A P T A

Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod y nod sydd yn ffurfio y pedwarydd, yn cael ei ddefnyddio yn y *cord* blaenorol tan y llythyren P, sef paratoad. Hefyd, gwelwn ei fod ar ol ffurfio y pedwerydd tan y llythyren T, sef tarawiad, yn disgyn un radd i'r *cord* nesaf dan y llythyren A, sef adferiad.

Nyni a ychwanegwn esiampl, er dangos defnyddiad *cords* $\frac{6}{4}$ ar y raddfa.

Anfynych y defnyddir *cord* $\frac{6}{4}$ ar eilfed y cyweirnod, o blegid fod y *cord* $\frac{6}{3}$ yn fwy dewisol yn y cyfryw sefyllfa.

Rheol 3. Os bydd y nod a fo yn ffurfio pedwarydd yn parhau ar yr un sefyllfa; h. y. heb ei adferyd, yn y cyfryw amgylchiad ni ddylai y *bass* fyned i, na dyfod o'r *cord* $\frac{6}{4}$ trwy neidiau, ond trwy symudiadau graddol.

Fel hyn, Neu fel hyn.

Rheol 4. Pan fyddo y *bass* yn symud o'r naill wrthddull i'r llall yn yr un *cord* gwreiddiol, gellir myned i, a dyfod o'r *cord* $^{6}_{4}$ trwy neidiau, ac heb adferiad.

ESIAMPLAU.

Tonydd. Llywydd. Islywydd.










---

## PEN. V.

### *Cord y seithfed a'i Wrthddulliau.*

Y *cord* nesaf ei berthynas i'r *cord* cyffredin a'i wrthddulliau, yw *cord* y seithfed. Nyni a sylwn ar y *cord* hwn yn y drefn a ganlyn;—Yn 1. Ei gyfansoddiad. 2. Ei ffurfiad. 3. Ei gyflead. 4. Ei baratoad a'i adferiad. 5. Ei ddefnyddiad.

1. Ei gyfansoddiad. Y mae *cord* y seithfed yn gyfansoddedig o bedair sain, sef nod y *bass*, ei drydydd mwyaf, ei bumed perffaith, yn nghyd a'i seithfed lleiaf.

ESIAMPL.




Rhifnodir y *cord* â 7.

2. Ei ffurfiad. Ffurfir y *cord* hwn drwy ychwanegu annghydsain y seithfed at y *cord* cyffredin llywyddawl.

ESIAMPLAU.

*Cord* cyffredin llywyddol. Y seithfed llywyddol.



o hwn y
ffurfir hwn




7

Rhaid i'r *cord* hwn fod yn fwyaf hyd yn oed yn y cywair lleiaf, mewn trefn i ffurfio y nôd arweiniol.

3. Ei gyflead. Y mae i'r *cord* hwn dri o wahanol gyfleadau.

ESIAMPL.

Cyflead cyntaf. 2il gyflead. 3ydd cyflead.




7 7 7

Nid yw yn angenrheidiol i'r *cord* fod bob amser fel un o'r cyfleadau uchod; gadewir weithiau y pumed, a defnyddir yr wythfed; fel hyn,—




7

Nis Gellir gadael y pumed a'r wythfed heb eu defnyddio, a dyblu y trydydd; fel hyn,—




7

4. Ei baratoad a'i adferiad. Gellir defnyddio unrhyw un o'r cydseiniaid er paratoi ac adferyd annghydsain.

ESIAMPL.




Oddiwrth yr esiampl, gwelwn mai F seithfed y llywydd yw'r annghydsain; gwelwn hefyd ein bod wedi defnyddio F yn y *cord* blaenorol, hyny yw, paratoad yr annghydsain; gwelwn hefyd mai adferiad o annghydsain yw disgyn un radd, tôn, neu haner ton, megis o F i E.

Sylwer, rhaid i'r paratoad, y tarawiad, a'r adferiad gymeryd lle yn yr un llais.

5. Ei ddefnyddiad. Defnyddir y *cord* hwn ar y llywydd.

---

Cord *y pumed a'r chweched, sef gwthddull cyntaf* cord *y seithfed.*

Nyni a sylwn ar y *cord* hwn yn yr un drefn a'r *cord* gwreiddiol, sef *cord* y seithfed.

1. Ei gyfansoddiad. Y mae y *cord* hwn yn gyfansoddedig o bedair sain, sef nod y *bass*, ei drydydd lleiaf, ei bumed lleiaf, yn nghyd a'i chweched lleiaf.

ESIAMPL.




Rhifnodir y *cord* a $^{6}_{5}$

2. Ei ffurfiad. Ffurfir y *cord* hwn trwy ddefnyddio trydydd y *cord* gwreiddiol yn y *bass.*

ESIAMPL.

Y *cord* gwreiddiol.




o hwn y ffurfir hwn

Gwrthddull cyntaf.




3. Ei gyflead. Y mae i'r *cord* hwn dri o wahanol gyfleadau.

ESIAMPL.




Gocheler ychwanegu wythfed y *cord* hwn am ei fod yn nod arweiniol; hefyd y rheol gyffredin yw peidio ychwanegu yr wythfed mewn un gwrthddull *cord* y seithfed, am nad yw yn angenrheidiol er ffurfio pedwar o leisiau.

4. Ei baratoad a'i adferiad. Pumed y *cord* hwn yw yr annghydsain, gan hyny rhaid paratoi y pumed a'i adferyd.

ESIAMPL.

Paratoad. Adferiad.



5. Ei ddefnyddiad. Defnyddir y *cord* hwn ar y nod arweiniol.

---

Cord *y pedwarydd a'r trydydd, sef ail wrthddull* cord *y seithfed.*

Nyni a sylwn ar y *cord* hwn yn yr un drefn, sef yn
1. Ei gyfansoddiad. Y mae y *cord* hwn yn gyfansoddedig o bedair sain, sef nod y *bass*, ei drydydd lleiaf, ei bedwarydd mwyaf, yn nghyd a'i chweched mwyaf.

ESIAMPL.




Rhifnodir y *cord* a $^{4}_{3}$

2. Ei ffurfiad. Ffurfir y *cord* hwn drwy ddefnyddio pumed y *cord* gwreiddiol yn y *bass*.

ESIAMPL.

*Cord* gwreiddiol.




o hwn y ffurfir hwn




3. Ei gyflead. Y mae i'r *cord* hwn dri o wahanol gyfleadau.

ESIAMPL.

Cyflead cyntaf. 2il gyflead. 3ydd cyflead.



4. Ei baratoad a'i adferiad. Yn y *cord* hwn y trydydd yw yr annghydsain, gan hyny rhaid paratoi y trydydd a'i adferyd.

ESIAMPL.




5. Ei ddefnyddiad. Defnyddir y *cord* hwn ar eilfed y cyweirnod.

---

Cord *y pedwarydd a'r eilfed, sef trydydd gwrthddull* cord *y seithfed.*

Nyni a sylwn ar y *cord* hwn eto yn yr un drefn.
1. Ei gyfansoddiad. Y mae y *cord* hwn yn gyfansodd-edig o bedair sain, sef nod y *bass*, ei eilfed mwyaf, ei bedwarydd mwyaf, yn nghyd a'i chweched mwyaf.

ESIAMPL.




Rhifnodir y *cord* a $\frac{4}{2}$

2. Ei ffurfiad. Ffurfir y *cord* hwn drwy ddef-nyddio seithfed y *cord* gwreiddiol yn y *bass*.

ESIAMPLAU.




o hwn y ffurfir hwn



3. Ei gyflead. Y mae i'r *cord* hwn eto dri o wahanol gyfleadau.

ESIAMPL.




4. Ei baratoad a'i adferiad. Yn y *cord* hwn, nod y *bass* sydd yn ffurfio yr annghydsain, gan hyny, rhaid i'r paratoad a'r adferiad gymeryd lle yn y *bass*.

ESIAMPL.




5. Ei ddefnyddiad. Defnyddir y *cord* hwn ar yr islywydd.

*Adsylwadau.*

Nyni a ychwanegwn esiampl, er dangos tarddiad gwrthddulliau y seithfed *cord* ar un olwg:—




Oddiwrth yr esiampl, gwelwn yn 1af, Fod y *cord* gwreiddiol yn gyfansoddedig o bedair sain, sef nôd y *bass*, ei drydydd, ei bumed, yn nghyd a'i seithfed.

2. Gwelwn mai trwy ddefnyddio trydydd y *cord* gwreiddiol yn y *bass*, y ffurfir y *cord* $^{6}_{5}$.

3. Mai trwy ddefnyddio pumed y *cord* gwreiddiol yn y *bass*, y ffurfir y *cord* $^{4}_{3}$.

4. Mai trwy ddefnyddio seithfed y *cord* gwreiddiol yn y *bass*, y ffurfir y *cord* $^{4}_{2}$.

---

*Cord seithfed y nod arweiniol.*

Dosberthir y *cord* hwn i ddau ddosbarth, sef *cord* seithfed nod arweiniol y cywair mwyaf, a *chord* seithfed nod arweiniol y cywair lleiaf. Sylwn ar *cord* seithfed nod arweiniol y cywair mwyaf. Yn 1. Ei gyfansoddiad. 2. Ei ffurfiad. 3. Ei adferiad. 4. Ei ddefnyddiad.

1. Ei gyfansoddiad. Y mae y *cord* hwn yn gyfansoddedig o bedair sain, sef nod y *bass*, ei drydydd lleiaf, ei bumed lleiaf, yn nghyd a'i seithfed lleiaf.

ESIAMPL.




2. Ei ffurfiad. Ffurfir y *cord* hwn drwy ychwanegu y seithfed at y *cord* cyffredin anmherffaith.

ESIAMPLAU.

*Cord* cyffredin anmherffaith.




o hwn y ffurfir hwn




3. Ei adferiad. Nid yw yn angenrheidiol paratoi anghydsain y *cord* hwn, na'i wrthddulliau ; ond rhaid eu hadferyd drwy ddisgyn i un o seiniau *cord* cyffredin y tonydd.

ESIAMPL.

Adferiad.




Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod y *cord* uchod yn cynwys dwy annghydsain, sef y seithfed lleiaf, a'r pumed lleiaf; gwelwn hefyd ein bod wedi eu hadferyd.

4. Ei ddefnyddiad. Defnyddir y *cord* hwn ar y nod arweiniol yn y cywair mwyaf. Anfynych y defnyddir gwrthddulliau y *cord* hwn, o herwydd eu hanmhereidddra, yn neillduol y *cord* $\frac{4}{2}$. Y drefn fwyaf llafar yw cyfleu yr annghydsain yn y rhan uwchaf o'r gynghanedd, a'r nod arweiniol yn y rhan isaf.

Gwrthddull cyntaf.




Yr ail wrthddull.




---

Cord *y seithfed a ddefnyddir ar y nod arweiniol yn y cywair lleiaf, sef y seithfed gorleiaf.*

1. Ei gyfansoddiad. Y mae y *cord* hwn yn gyfansoddedig o bedair sain, sef nod y *bass,* ei drydydd lleiaf, ei bumed lleiaf, a'i seithfed gorleiaf.

ESIAMPL.



2. Ei ffurfiad. Ffurfir y *cord* hwn drwy ychwanegu y seithfed at y *cord* cyffredin anmherffaith yn y cywair lleiaf.

ESIAMPLAU.



o hwn y ffurfir hwn




3. Ei adferiad. Nid yw yn angenrheidiol paratoi annghydseiniau y *cord* hwn, na'i wrthddulliau; ond rhaid eu hadferyd.

ESIAMPL.

Adferiad.




Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod dwy annghydsain yn y *cord* hwn, sef y seithfed gorleiaf, a'r pumed lleiaf; gwelwn hefyd ein bod wedi eu hadferyd.

4. Ei ddefnyddiad. Defnyddir y *cord* hwn ar y nod arweiniol yn y cywair lleiaf.

I. *Cord* y chweched a'r pumed, sef gwrthddull cyntaf *cord* hwn. Sylwn yn

1. Ar ei gyfansoddiad. Y mae y *cord* hwn yn gyfansoddedig o bedair sain, sef nod y *bass*, ei drydydd lleiaf, ei bumed lleiaf, yn nghyd a'i chweched.

ESIAMPL.



2. Ei ffurfiad. Ffurfir y *cord* hwn drwy ddefnyddio trydydd y *cord* gwreiddiol yn y *bass.*

ESIAMPLAU.

O'r *cord* gwreiddiol y ffurfir hwn. Yn 3. Ei adferiad.



















4. Ei ddefnyddiad. Defnyddir y *cord* hwn ar eilfed y tonydd yn y cywair lleiaf.

II. *Cord* y pedwarydd a'r trydydd, sef ail wrthddull y *cord* hwn. Sylwn yn

1. Ar ei gyfansoddiad. Y mae y *cord* hwn yn gyfansoddedig o bedair sain, sef nod y *bass*, ei drydydd lleiaf, ei bedwarydd *sharp*, yn nghyd a'i chweched.

ESIAMPL.




2. Ei ffurfiad. Ffurfir y *cord* hwn drwy ddefnyddio pumed y *cord* gwreiddiol yn y *bass.*

ESIAMPLAU.

O'r *cord* gwreiddiol y ffurfir hwn. 3. Ei adferiad.



















4. Ei ddefnyddiad. Defnyddir y *cord* hwn ar yr islywydd yn y cywair lleiaf.

III. *Cord* y pedwarydd a'r eilfed, sef trydydd gwrthddull y *cord* hwn. Sylwn yn

1. Ar ei gyfansoddiad. Y mae y *cord* hwn yn gyfansoddedig o bedair sain, sef nod y *bass*, ei eilfed gorlawn, ei bedwarydd gorlawn, yn nghyd a'i chweched.

ESIAMPL.




4
2

2. Ei ffurfiad. Ffurfir y *cord* hwn drwy ddefnyddio seithfed y *cord* gwreiddiol yn y *bass*.

ESIAMPLAU.

O'r *cord* gwreiddiol




y ffurfir hwn.




Yn 3. Ei adferiad.




Adferiad.








4
2

4
2

Sylwer mai yn y *bass* y mae adferiad y *cord* hwn.

4. Ei ddefnyddiad. Defnyddir y *cord* hwn ar yr arlywydd.

*Adsylwad.*

Sylwer, prif leoedd *cord* y seithfed ydynt ar y llywydd, ac ar y nod arweiniol yn y cywair mwyaf, yn nghyd ac ar y nod arweiniol yn y cywair lleiaf; ond arferir ef yn fynych ar eilfed y cyweirnod.

Sylwer, y mae yn angenrheidiol paratoi ac adferyd annghydsain y *cord* hwn, megis y seithfed llywyddawl.

Paratoad. Adferiad.

Gwrthddull cyntaf.

Y *cord* gwreiddiol.











6 7

6
5

Anfynych y defnyddir ail a thrydydd gwrthddull i'r *cord* hwn.

Y mae mathau eraill o seithiau, pa rai a elwir seithiau syml. Ffurfir y seithiau hyn drwy ychwanegu y seithfed at y *cord* cyffredin yn ei wahanol sefyllfaoedd; sef ar y tonydd, y llywydd, a'r islywydd.

Rheol 1. Nid yw yn oddefol defnyddio y seithiau syml, ond yn unig ar y rhan bwysleisiol o'r *bar*.

Rheol 2. Dylid paratoi ac adferyd y seithfed syml fel y seithfed llywyddawl.

## PEN. VI.

### *Am y* Cords *Cydbwysol,* (Suspensions.)

Ffurfir y *cords* cydbwysol trwy barhau nod perthynol i un *cord,* a'i ddefnyddio mewn *cord* arall. Y seiniau a ddefnyddir fynychaf mewn cydbwysiaid ydynt y nawfed, yr hwn sydd yn cydbwyso i'r wythfed, y pedwarydd, yr hwn sydd yn cydbwyso i'r trydydd, yn nghyd a'r seithfed, yr hwn sydd yn cydbwyso i'r chweched. Dosberthir y cydbwysiaid i dri dosparth, sef unigol, dwbl, a thriphlyg. Sylwn yn

1. Ar y cydbwysiaid unigol; h.y. cydbwysiad mewn un llais. Y cydbwysiaid unigol ydynt y 9fed a'r 8fed, y 4ydd a'r 3ydd, yn nghyd a'r 7fed a'r 6ed.

Er amlygu y modd y ffurfir y cydbwysiaid, defnyddiwn yr esiampl a ganlyn;—

Cynghanedd syml.




Cynghanedd gydbwysol.




Oddiwrth yr esiampl gwelwn mai trwy barhau D, trydydd *cord* y chweched, a'i defnyddio yn yr ail *cord,* y ffurfir nawfed y *cord* cydbwysol.

Esiampl o gydbwysiad y pedwarydd i'r trydydd:—

Cynghanedd syml. Cynghanedd gydbwysol.






Esiampl o gydbwysiad y seithfed i'r chweched:—

Cynghanedd syml. Cynghanedd gydbwysol.







*Am y cydbwysiaid dwbl.*

Ffurfir cydbwysiaid dwbl drwy ddefnyddio y cydbwysiaid mewn dau lais ar yr un pryd. Y seiniau a ddefnyddir fynychaf mewn cydbwysiad dwbl ydynt y $\begin{smallmatrix}9&8\\4&3\end{smallmatrix}$ yn nghyd a $\begin{smallmatrix}9&8\\7&6\end{smallmatrix}$.

ESIAMPLAU.







*Am y cydbwysiaid triphlyg.*

Ffurfir cydbwysiad triphlyg trwy ddefnyddio cydbwysiad mewn tri llais. Y seiniau a ddefnyddir fynychaf ydynt, $\begin{smallmatrix}9&8\\7&6\\4&3\end{smallmatrix}$

ESIAMPL.




Oddiwrth yr esiampl gwelwn ein bod wedi paratoi ac adferyd y tri chydbwysiad.

*Am gydbwysiad yn y bass*

Pan ddefnyddir cydbwysiad yn y *bass*, rhaid i'r paratoad a'r adferiad gymeryd lle yn y *bass*.

ESIAMPL.




Rheol 1. Rhaid i bob cydbwysiad gael ei baratoi a'i adferyd trwy ddisgyn un radd.

Rheol 2. Nid yw yn oddefol defnyddio y cydbwysiaid, ond yn unig ar y rhan bwysleisiol y *bar*.

Rheol 3. Nid yw yn oddefol dyblu y nod a fyddo yn ffurfio y cydbwysiad.

Rheol 4. Nid yw yn oddefol defnyddio nod mynedawl (*passing note*) fel paratoad, nac adferiad cydbwysiad.

Rheol 5. Rhaid i'r nod a fyddo yn ffurfio paratoad fod o leiaf yn ogyhyd ei barhad â nod y cydbwysiad; oddieithr ar rai achlysuron yn yr amser triphlyg; gan hyny y mae yr esiampl ganlynol yn feius ac i'w gochel.

ESIAMPL.




Gall cydbwysiad fod yn hŵy ei barhad na'i adferiad.

ESIAMPL.




Rheol 6. Nid yw yn oddefol defnyddio yr wythfed fel paratoad i'r nawfed, gan hyny y mae yr esiampl isod yn feius ac i'w gochel:—




Rheol 7. Nid yw yn oddefol defnyddio y seithfed a'r wythfed mewn cydbwysiad yn y *bass*, gan hyny y mae yr esiampl isod yn feius ac i'w gochel:—



## PEN. VII.

### *Am y Diweddebau,* (Cadences.)

Wrth ddiweddeb y meddylir y *cords,* pa rai a ddefnyddir i derfynu meddylddrychau cerddorawl.

Dosberthir y diweddebau i bedwar dosbarth: sef perffaith, anmherffaith, ffugiol, a *plagal.* Sylwn yn

1. Ar y diweddebau perffaith. Y *cords* a ddefnyddir fynychaf mewn diweddebau perffaith ydynt *cord* y seithfed, ynghyd a'r *cord* cyffredin. Mewn diweddeb berffaith y mae y *cord* diweddaf ond un, bob amser ar y llywydd, a'r *cord* diweddaf bob amser ar y tonydd.

Esiamplau yn y cywair mwyaf.



Esiamplau yn y cywair lleiaf.



Defnyddir y diweddebau perffaith i derfynu meddylddrychau a chyfansoddiadau cyflawn. Nid yw yn oddefol defnyddio *cords* gwrthddulliawl mewn diweddebau perffaith.

2. Ar y diweddebau anmherffaith. Y mae y diweddebau anmherffaith bob amser yn terfynu ar y llywydd, a'u heffaith yn peri disgwyliad am ryw ychwanegiad. Defnyddir hwynt i derfynu adranau, a dosranau cerddorawl. Rhaid i'r diweddebau anmherffaith fod yn fwyaf yn y cywair lleiaf.

Esiamplau yn y cywair mwyaf.



Esiamplau yn y cywair lleiaf.



3. Ar y diweddeb ffugiol. Y mae y diweddeb ffugiol yn deilliaw o'r diweddeb perffaith. Ffurfir ef trwy ddefnyddio yr arlywydd yn lle y tonydd.

ESIAMPLAU.







Y mae cyfrwng diweddeb ffugiol yn ddwy haner ton yn y cywair mwyaf, ond un yn y cywair lleiaf.

4. Ar y diweddeb *Plagal.* Deillia diweddeb *Plagal* o'r diweddeb anmherffaith, trwy ddefnyddio yr islywydd yn lle y llywydd, ac felly symud o'r islywydd i'r tonydd.

ESIAMPL.



Gwelir esiampl o'r diweddeb *Plagal,* gan Handel yn *Haleluia Chorus.* Y mae llawer o ffurfiau eraill o ddiweddebau pa rai a ystyrir yn llai eu cymeradwyaeth, eto ystyrir hwy yn ddigonol i ddynodi terfynau adranau cerddorawl. Eglurwyd egwyddor wreiddiol diweddebau, a hyderwn yr adweinir y canghenau oddiwrth y gwreiddiau.

---

## PEN. VIII.

*Trawsgyweiriant Cynghanedd,* (Modulation.)

TRAWSGYWEIRIANT cynghanedd ydyw y drefn sydd i arwain y gynghanedd a'r beroriaeth *(melody)* o'r naill gyweirnod i gyweirnod arall. Pan fyddom yn trawsgyweirio, rhaid defnyddio *cord* priodol i'r cyweirnod newydd, a rhaid i'r *cord* hwnw gynwys nod a rweiniol,

yn nghyd ac islywydd y cyweirnod newydd. Y *cords* a ddefnyddir fynychaf i drawsgyweirio, ydynt y gwahanol seithiau, yn nghyd a'u gwrthddulliau. Dosberthir trawsgyweiriant i dri dosbarth, sef naturiol, annaturiol, a disymwth. Sylwn yn

I. Ar y trawsgyweiriant naturiol. Dosrenir y trawsgyweiriant hwn i ddeg dosran, sef pump o'r cywair mwyaf, a phump o'r cywair lleiaf. Y 1af yw o'r tonydd i'r llywydd yn y cywair mwyaf. Y rheswm dros y berthynas naturiol sydd rhwng y tonydd a'r llywydd yw, mai un cyfnewidiad sydd yn angenrheidiol ar y raddfa, sef codi haner ton ar yr islywydd.

ESIAMPL.

Trawsgyweiriad o C i G.



Defnyddir y *cord* cyffredin weithiau i drawsgyweirio yn y cyfryw amgylchiad; nid yw yn angenrheidiol i'r *cord* a fo yn ffurfio y trawsgyweiriad gynwys nod yr islywydd.

ESIAMPL.



2. O'r tonydd i'r islywydd. Y rheswm dros berthynas y tonydd a'r islywydd yw, mai un cyfnewidiad sydd yn angenrheidiol ar y raddfa, sef gostwng haner ton ar y nod arweiniol.

ESIAMPL.

Trawsgyweiriad o C i F.




3. O'r tonydd i'w gyweirnod perthynasol. Y rheswm dros y berthynas yw, nad oes angen un cyfnewidiad yn y raddfa wrth ddisgyn.

ESIAMPL.

Trawsgyweiriad o C fwyaf i A leiaf.




4. O'r tonydd i gyweirnod perthynasol y llywydd, sef y canolydd, neu drydydd y cyweirnod. Yr un rheswm sydd dros berthynas y trawsgyweiriad hwn a'r trawsgyweiriad o'r tonydd i'r llywydd.

ESIAMPL.

Trawsgyweiriad o C fwyaf i E leiaf.




5. O'r tonydd i gyweirnod perthynasol yr islywydd, sef yr ardonydd, neu eilfed y cyweirnod. Yr un rheswm

sydd dros berthynas y trawsgyweiriad hwn a'r trawsgyweiriad o'r tonydd i'r islywydd.

ESIAMPL.

Trawsgyweiriad o C fwyaf i D leiaf.




6. O'r tonydd i'r llywydd yn y cywair lleiaf. Y rheswm dros y berthynas yw, mai un cyfnewidiad sydd yn angenrheidiol ar y raddfa, sef codi haner ton ar yr arlywydd, neu y chweched.

ESIAMPL.

Trawsgyweiriad o A i E.




7. O'r tonydd i'r islywydd yn y cywair lleiaf. Y rheswm dros y berthynas yw, mai un cyfnewidiad sydd yn angenrheidiol ar y raddfa, sef gostwng haner ton ar yr ardonydd, neu'r eilfed.

ESIAMPL.

Trawsgyweiriad o A i D.



8. O'r tonydd yn y cywair lleiaf, i'w gyweirnod perthynasol yn y cywair mwyaf. Y rheswm dros y berthynas yw, nad oes angen am un cyfnewidiad ar y raddfa.

ESIAMPL.

Trawsgyweiriad o A leiaf i C fwyaf.

6 7

9. O'r tonydd yn y cywair lleiaf i gyweirnod perthynasol y llywydd. Yr un yw y rheswm dros berthynas y trawsgyweiriad hwn a'r rhif 6.

ESIAMPL.

Trawsgyweiriad o A leiaf i G fwyaf.

6
5

10. O'r tonydd yn y cywair lleiaf i gyweirnod perthynasol yr islywydd. Yr un yw y rheswm dros berthynas y trawsgyweiriad hwn a'r rhif 7.

ESIAMPL.

Trawsgyweiriad o A leiaf i F fwyaf.

6 ♭7

Oddiwrth yr esiamplau, gwelwn yn gyntaf, fod

trawsgyweiriant wedi ei ddosranu yn ddeg dosran, pump o'r cywair mwyaf, a phump o'r cywair lleiaf. Yn ail, fod chwech o honynt yn gyweirnodau perthynasol, sef tri o'r cywair mwyaf, a thri o'r cywair lleiaf. Yn drydydd, fod cyweirnodau perthynasol y cywair mwyaf bob amser yn y cywair lleiaf, a chyweirnodau perthynasol y cywair lleiaf bob amser yn y cywair mwyaf.

II. Ar y trawsgyweiriant annaturiol. Trawsgyweiriant annaturiol, ydynt y trawsgyweiriadau i gyweirnodau sydd heb berthynas naturiol rhyngddynt a'r cyweirnod gwreiddiol. Y mae y trawsgyweiriadau hyn yn lluosog, ond heb fod mewn arferiad cyffredin, yn neillduol mewn cerddoriaeth eglwysig; nodwn ychydig o lawer o esiamplau.

1. Trawsgyweiriad o C yn y cywair mwyaf, i C yn y cywair lleiaf:—



2. Trawsgyweiriad o A leiaf i A fwyaf:—



3. Trawsgyweiriad o C fwyaf i G leiaf:—



4. Trawsgyweiriad o C fwyaf i F leiaf:—




III. Ar y trawsgyweiriad disymwth. Trawsgyweiriad disymwth, ydyw y cyfnewidiad swta a wneir ar y cywair, megis cyfnewidiad o'r cywair mwyaf i'r cywair lleiaf, neu gyfnewid o'r cywair lleiaf i'r cywair mwyaf.

ESIAMPLAU.




Pan ffurfir trawsgyweiriad disymwth, gellir aros yn y cywair newydd, neu gellir adferu i'r cywair dechreuol, neu gellir trawsgyweirio i unrhyw gyweirnod naturiol.

---

## PEN. IX.

### *Am beroriaeth*, (Melody).

WRTH sylwi ar beroriaeth unrhyw gyfansoddiad rheolaidd o gerddoriaeth, cawn ei fod yn gyfansoddedig o feddylddrychau cerddorawl; ac er gwneud y meddylddrychau yn effeithiol, cawn fod gwahanol orphwysfäau yn angenrheidiol, er eu gwneud yn ddealladwy i, a derbyniol gan y glust. Dosberthir y gorphwysfäau i dri dosbarth, sef adran, dosran, a diweddran. Cyn myned yn mhellach, defnyddiwn y dôn "LLAWENYDD," er gwneud y pwnc yn eglurach. Dynodir terfyn yr adran â'r arwyddnod △; y dosran â □ ; a'r diweddran â ○.



Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod yr adran yn gyfansoddedig o nifer o seiniau; y dosran yn gyfansoddedig o adranau; a'r diweddran yn gyfansoddedig o ddosranau.

1. Ar yr adran (*phrase*). Y mae yr adran mewn cerddoriaeth yn debyg i'r rhagwahanod mewn rhyddiaith. Cynwysa ddrychfeddwl anmherffaith. Gellir terfynu yr adran ar un o seiniau *cord* cyffredin y tonydd, llywydd, neu'r islywydd, oddieithr pan y bydd yr adran yn terfynu dosran, neu ddiweddran. Anfynych y terfyna dwy adran ddilynol ar yr un sain, oddieithr mewn adran ail-adroddiadol.

2. Ar y dosran (*section*). Y mae y dosran mewn cerddoriaeth, yn debyg i'r gwahanod mewn rhyddiaith. Cynwysa ddrychfeddwl cyflawn, heb fod yn annibynol, ond a oddefa ychwanegu ato. Rhaid i'r dosran derfyuu trwy ddiweddeb reolaidd, ac mewn cynghanedd a pher-

oriaeth eglur. Gellir terfynu y dosran ar y tonydd, neu y llywydd, ac mewn rhai amgylchiadau ar yr islywydd.

ESIAMPLAU.

Dosran Tonyddol.



Dosran Llywyddol.



3. Ar y diweddran (*period*). Y mae y diweddran mewn cerddoriaeth, yn debyg i'r diweddnod mewn rhyddiaith. Cynwysa ddrychfeddwl cyflawn ac annibynol. Rhaid i'r diweddran derfynu trwy ddiweddeb reolaidd. Defnyddir ef i derfynu dernyn cyflawn o beroriaeth. Terfyna ar y tonydd yn gyffredin, ond ar rai amgylchiadau ar y llywydd.

Terfyna y gwahanol feddylddrychau weithiau mewn saib (*pause*), gorphwysnod (*rest*), gogwyddnod (*appaggiatura*); dro arall mewn nod hir ei amser; terfynant weithiau ar ran bwysleisiol y *bar*, dro arall ar y rhan ddibwys. Ni oddef ein terfynau i ni roddi esiamplau, ond hyderwn yr adwaenir hwynt wrth y darluniad a roddwyd, ac wrth y diweddebau.



# RHAN III.

## PENNOD I.

*Cyfansoddiant* (Counterpoint).

At yr hyn a eglurwyd ar egwyddorion cyfansoddiant yn yr ail ran, rhoddwn ger bron yr efrydydd y cynllun *(plan)* a arferir ac a gymeradwyir, gan enwogion Italy ac Almaen. Cyfansoddiant yw y drefn o ychwanegu at unrhyw sylfon *(subject)*, un, dau, tri, neu ychwaneg o leisiau. Ein gorchwyl cyntaf fydd rhoddi sylfon * i'r efrydydd o waith yr enwog Albrechstberger, yr hon sydd yn gyfansoddedig yn y ffurf fwyaf syml:—



Rhaid cyfansoddi y llais nesaf mewn nodau o'r un barhad a'r sylfon.

Y *cords* a ddefnyddir yn y dosparth cyntaf, ydynt y cydseiniaid, sef yr unsain, y trydyddau, y pumed perffaith, y chwechau, a'r wythfed.

*Esiampl o'r dosparth cyntaf mewn dau lais.*

Sylfon. 3



Cyfansoddiant.



8 3 8 3 6 3 3 3 6 6 10 10 8

Gellir defnyddio y sylfon yn y *bass* os dewiser.

* Gwelir yr unrhyw wedi ei defnyddio gan Hamilton.

ESIAMPL.

Cyfansoddiant.



Sylfon.



8 10 3 3 3 6 5 3 8 6 5 6 6 8

Wedi i'r efrydydd ymarfer a chyfansoddi mewn deulais, ychwaneger y trydydd llais, ac yna y pedwarydd, pa rai a wasanaethant er llanw y gynghanedd.

*Esiampl mewn tri llais.*





Sylfon.



6 6 6 6 6 6

*Esiampl o'r dosparth cyntaf mewn pedwar llais.*

Sylfon.





*





6 6 6 6

* Defnyddiwyd *clef* y *tenor* ar y trydydd cyfrwng er mwyn rhoddi sicrwydd diamheuol i'r *tenor* o'u llais; sylwer, y mae y nodau yn gwbl fel pe defnyddid *clef* y *treble*.

Yr ail ddosparth. Yn y dosparth hwn, ysgrifenir y cyfansoddiant mewn nodau haner cyhyd a'r sylfon; h. y. os *semibreves* fydd y sylfon, yna *minims* fydd y cyfansoddiant. Yn yr amser triphlyg, ysgrifenir tri nod yn y cyfansoddiant, cyfartal i un nod o'r sylfon.

## *Rheolau.*

1. Rhaid i'r nod pwysleisiol, yn y dosparth hwn, bob amser, fod yn gydsain; ond gall y nodau anmhwysleisiol, fod naill ai yn gydseiniaid, neu yn annghydseiniaid mynedol; pa rai a ddefnyddir i lanw y cyfryngau rhwng y naill gydsain a'r llall.

2. Ni ellir myned i, na dyfod o annghydseiniaid mynedol trwy neidiau (*skips*).

ESIAMPL.

Cyfansoddiant.



Sylfon.




Pan ychwanegir y trydydd a'r pedwarydd llais, h. y. llanw y gynghanedd, rhaid i'r nodau hyny fod yn ogyhyd a'r sylfon.

Y trydydd dosparth. Yn y dosparth hwn, gellir defnyddio 4, 6, neu 8 o nodau cyfartal i un nod o'r sylfon.

*Rheol.*—Rhaid i'r nod cyntaf yn mhob *bar* yn y dosbarth hwn, fod yn gydsain; ond gall y nodau eraill fod naill ai yn gydseiniaid, neu yn annghydseiniaid mynedol.

*Esiampl mewn dau lais.*

Cyfansoddiant. Trwydded.



Sylfon.



6





6 6 6

Rhaid i'r trydydd a'r pedwarydd llais fod yn gyfansoddedig o nodau ogyhyd a'r sylfon.

*Esiampl mewn tri llais.*





Sylfon.



6 6

*Parhad o'r esiampl flaenorol.*



Trwydded.






Y pedwarydd dosparth. Yn y dosparth hwn, ysgrifenir y cyfansoddiant mewn nodau haner cyhyd a'r sylfon. Prif neillduolrwydd y dosparth hwn, yw, fod y nod diweddaf o bob *bar* yn rhwym wrth y nod cyntaf yn y *bar* dilynol.

*Rheolau.*

1. Rhaid i'r nod anmhwysleisiol, bob amser, fod yn gydsain; ond gall y nod pwysleisiol fod, naill ai cydsain ai annghydsain gydbwysol.

2. Rhaid i'r annghydsain gydbwysol gael ei hadferu trwy ddisgyn un radd.

*Esiampl mewn dau lais.*



Sylfon.



*Parhad o'r esiampl flaenorol.*




*Esiampl mewn pedwar llais.*

Sylfon.

6 4/2 6 6 2

2 6 2 2 6 5/2

Y pumed dosparth. Y mae y pedwar dosparth blaenorol yn gynwysedig yn y dosparth hwn; felly y mae yn cynwys nodau o amrywiol barhad. Pan ysgrifenir y sylfon mewn *semibreves*, ni ddylai y cyfansoddiant gynwys nodau llai na *quavers*; ïe, ni ddylid defnyddio *quavers* ond yn achlysurol.

*Esiampl mewn dau lais.*















*Esiampl mewn tri llais.*

Sylfon.



Cyfansoddiant.













---

## PEN. II.

*Cyfansoddiant Dyblyg, neu amrywiol.* (Double, or Complex Counterpoint.)

WRTH gyfansoddiant dyblyg y meddylir yn gyffredin, bob rhan o gyfansoddiad a ellir ei arfer mewn amryw foddau; nid yn unig a gynyrcha gynghanedd reolaidd yn ei ffurf gyntefig, ond a oddefa i'r ddau brif lais wrthddullio; h. y. i'r uchaf gael ei gyfleu yn isaf, a'r isaf yn uchaf, a hyny heb droseddu rheolau cynghanedd fel hyn;—




Yr esiampl uchod wedi gwrthddullio y ddau sylfon yn yr wythawd; h. y. cyfleu y llais uchaf yn yr wythawd islaw, a'r llais isaf yn yr wythawd uwchlaw, a saf fel hyn, a'r gynghanedd yn gywir;—




Y rhywiau mwyaf arferol o gyfansoddiant dyblyg ydyw y rhai hyny a oddefant eu gwrthddullio yn yr wythawd, fel yr esiampl flaenorol, yn y degfed a'r deuddegfed; h.y. fod y llais isaf yn cael ei gyfleu ddeg neu ddeuddeg cyfrwng yn uwch, neu y llais uchaf ddeg neu ddeuddeg cyfrwng yn is; gan hyny gwnawn sylw ar bob un wrthynt eu hunain. Sylwn yn gyntaf ar

*Gyfansoddiant dyblyg yn yr wythawd* (Octave).

Y prif sylfon a'i gynghaneddiad, yn ei ffurf gyntefig, a elwir yn gynllun (*model*), a'i ffurf darddiadol yn wrthddull. Mae cyfryngau y cynllun wrth eu gwrthddullio, yn cyfnewid fel hyn,—

| | |
|---|---|
| Cynllun | 1, 2, 3, 4, 5, 6, 7, 8. |
| Gwrthddull | 8, 7, 6, 5, 4, 3, 2, 1. |

Wrth y rhifnodau hyn, fe welir fod yr unsain yn cyfateb i'r wythfed, yr eilfed i'r seithfed, y trydydd i'r

chwechel, y pedwarydd i'r pumed, y pumed i'r pedwarydd, y chwechcd i'r trydydd, y seithfed i'r eilfed, a'r wythfed i'r unsain. Er cyfansoddi y cyfryw gerddoriaeth yn gywir, rhaid sylwi ar y rheolau canlynol;—

1. Ni ddylid cylchynu tu hwnt i'r wythawd, rhag i'r lleisiau groesi eu gilydd.

2. Rhaid defnyddio y pumed perffaith fel annghydsain; h. y. *os na fydd yn nod mynedawl*; rhaid ei baratoi a'i adferu yn rheolaidd; o blegid drwy wrthddulliad y mae yn dod yn bedwarydd. Paratoir ef yn fynych gan y trydydd, y chweched, a'r wythfed, neu'r unsain, ac fel yr annghydseiniau eraill yn cael ei adferu trwy ddisgyn un radd i gydsain, neu annghydsain nad rhaid iddi wrth baratoad.

3. Rhaid gochelyd annghydsain gydbwysol y nawfed, am na oddef ei gwrthddullio.

4. Nis gellir defnyddio dau bedwarydd mewn ysgogiad cydfynedawl, o blegid trwy wrthddulliad, byddant yn bumpau dilynol.

5. Rhaid i bob un o'r sylfonau fod yn meddu ar beroriaeth eglur a tharawiadol ynddynt eu hunain; a gosodir gorphwysnod byr yn gyffredin o flaen dyfodiad yr ail sylfon i mewn.

6. Pan na ddefnyddir yr annghydseiniau fel nodau mynedawl (*passing notes*), rhaid eu paratoi a'u hadferu yn rheolaidd, fel mewn cyfansoddiant cyffredin; oddieithr y pumed lleiaf, a'r pedwarydd *sharp* goslefol, pa rai a ellir eu defnyddio heb baratoad, os bydd gwir angen am danynt.

Fe oddefa y ddau sylfon yn y cyfansoddiant hwn gael eu dilyn a thrydyddau, neu ddegau, naill ai yn y cynllun ai yn y gwrthddull; ond yn unig fod yn rhaid i'r ysgogiad gwrthsymudawl, neu y gŵyrsymudawl, gael ei arfer rhwng y ddau sylfon yn y cynllun, a gochelyd yr holl annghydseiniau, oddieithr eu bod yn cael eu harfer fel nodau mynedawl. Rhydd yr esiampl ganlynol gynllun o'r cyfryw.



Ni a ychwanegwn yr un esiampl wedi ei chynghaneddu drwy ychwanegu y trydydd uwchlaw y ddau brif lais.



Yn lle y trydydd uwchlaw, gellir defnyddio y degfed, neu gellir defnyddio y chweched islaw, yn lle y trydydd a'r degfed uwchlaw, yn y llais uchaf. Sylwn yn ail ar

*Gyfansoddiant dyblyg yn y degfed, neu'r trydydd.*

Rhaid i'r cyfansoddiad hwn fod, fel y gellir cyfleu y llais isaf yn y cynllun, ddeg o gyfryngau yn uwch, a'r llais uchaf yn y cynllun ddeg o gyfryngau yn îs, ac felly y mae cyfnewidiadau cyfryngau y cynllun drwy eu gwrthddullio fel hyn,—

Cynllun 1, 2, 3, 4, 5, 6, 7, 8, 9, 10.
Gwrthddull 10, 9, 8, 7, 6, 5, 4, 3, 2, 1.

Y cyfryw mewn nodau fel hyn,—




Oddiwrth yr esiampl, gwelwn yn gyntaf, Fod yr unsain yn dyfod yn ddegfed, ac felly gellir defnyddio yr unsain hyd yn oed mewn deulais, yn y rhyw yma o gyfansoddiant.

2. Fod yr eilfed yn cyfnewid i'r nawfed, yr eilfed hwn pan yn gydbwysol ni oddef ei baratoi gyda'r trydydd, ond gyda rhyw gydsain arall, heb hyny, wrth ei wrthddullio, bydd y nawfed yn cael ei baratoi gan yr wythfed, yr hyn a gynyrcha wythau gwaharddedig, fel hyn,—

A B C

Sylfon. Da mewn tri llais.

Drwg mewn dau lais. 10 10 10

3 2 3 1 8 9 8 10 6 7 6 8

Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod yr eilfed yn cael ei baratoi gan y trydydd islaw y sylfon, yn yr esiampl A, ac yn dyfod yn nawfed, gan gael ei baratoi gan yr wythfed, yn yr esiampl B, drwy fod y sylfon wedi ei ostwng ddeg o gyfryngau yn îs; a'r un modd y byddai, pe cyfleid ef ddeg yn uwch, yr hyn eto sydd afreolaidd. Ond y seithfed yn cael ei baratoi gan y chweched, ac yn adferyd yn yr wythfed uwchlaw y sylfon, a oddefa i'r

sylfon wrthddullio i'r degfed uwchlaw, mewn tri llais, fel y gwelir yn esiampl C.

3. Fod y trydydd yn dyfod yn wythfed, gan hyny, mewn cyfansoddiant deuleisiol yn unig, ni oddefir defnyddio y trydyddau mewn ysgogiad cydsymudawl; o blegid wedi eu gwrthddullio, byddant yn wythau dilynol. Ond os bydd y sylfon yn cael ei arfer mewn tri, neu bedwar o leisiau, fe oddefir i'r trydydd ysgogi yn y modd cydsymudawl; o herwydd fe orchuddir y trosedd gan y lleisiau eraill.

4. Fod y pedwarydd yn cyfnewid i'r seithfed, a gellir ei ddefnyddio fel nôd mynedawl yn yr holl leisiau.

5. Fod y pumed yn dyfod yn chweched. Er nad ellir defnyddio y pumed perffaith yn y modd cydsymudawl mewn cyfansoddiad caeth, eto, efe a gynyrcha gydsain y chweched drwy ei wrthddullio.

6. Fod y chweched yn dyfod yn bumed, gan hyny, nis gellir defnyddio y chwechau dilynol, gan y cynyrchant drwy eu gwrthddullio, bumpau dilynol, yr hyn sydd afreolaidd.

7. Fod y seithfed yn dyfod yn bedwarydd, a gellir ei ddefnyddio mewn deulais, fel nôd mynedawl.

8. Fod yr wythfed yn dyfod yn drydydd, y nawfed yn eilfed, a'r ddegfed yn unsain. Mae y trydydd sylw yn egluro y rhai diweddaf, gan hyny, ni raid i ni ychwanegu.

Mae yn bosibl cyfansoddi yn y degfed eto, fel yn yr wythawd, yn y fath fodd, fel y goddefa y ddau sylfon gael eu dilyn gan y trydydd, neu y degfed uwchlaw, ar yr un amser. Y ffordd fwyaf syml i gyfansoddi y cyfryw, sydd fel y canlyn;—Cymerer pedair *staff*, A, B, C, D, fel yn yr esiampl ganlynol.

1. Ysgrifener y brif sylfon ar *staff* y D, ac ysgrifener ef drachefn ddeg uwchlaw, ar *staff* B.

2. Ysgrifener yr ail sylfon ar *staff* y C, yn y fath ffurf na fyddo yn bumpau ar y brif sylfon; ac na ddefnyddier cyfryngau annghydseiniol, oddieithr fel nodau mynedawl. Efelycher yr ail sylfon drachefn ddeg uwchlaw ar *staff* A, fel hyn;—

*Cynllun o gyfansoddiant y ddegfed, gyda phedwar o leisiau.*

A

Yr ail sylfon yn y degfed.

Trwydded.

B

Y brif sylfon yn y degfed.

C

Yr ail sylfon.

D

Y brif sylfon.

Sylwn yn drydydd ar

*Gyfansoddiant dyblyg yn y deuddegfed, neu'r pumed.*

Cyfansoddiant dyblyg yn y deuddegfed neu'r pumed, ydyw y cyfansoddiad hwnw, pa un, mewn deulais, a gyfansoddir fel y byddo i un llais aros heb symud, tra y byddo y llall yn esgyn neu yn disgyn ddeuddeg neu bump o gyfryngau; yr ydys wedi ei egluro eisoes yn y sylwadau blaenorol, pa fodd y mae y lleisiau yn cytuno yn y cyfnewidiad hwn; gallwn ei egluro ychydig eto fel hyn;—Os bydd y llais uchaf yn sefyll yn ei le, mae y llais isaf yn cael ei ddyrchafu ddeuddeg cyfrwng yn uwch; neu os i'r gwrthwyneb, fod i'r llais uchaf gael ei ostwng wythawd yn is, digon yw cyfodi y llais isaf bump yn uwch. Nodwn esiampl mewn rhifnodau er dangos y cyfnewidiad;—

| | |
|---|---|
| Cynllun | 1, 2, 3, 4, 5, 6, 7, 8, 9, 10, 11, 12. |
| Gwrthddull | 12, 11, 10, 9, 8, 7, 6, 5, 4, 3, 2, 1. |

*Rheolau.*

1. Ni ddylid myned tros gylch y deuddegfed, rhwng cyfryngau y ddau sylfon yn y cynllun.

2. O'r deuddeg cyfrwng ag sydd yn y cyfansoddiant hwn, y trydydd a'r degfed yn unig a ellir eu hychwanegu mewn ysgogiad cydsymudawl; rhaid defnyddio y deg cyfrwng arall, naill ai yn y modd gwrthsymudawl, neu yn ŵyrsymudawl.

3. Gan fod y chweched, trwy ei wrthddullio, yn dyfod yn seithfed, rhaid gan hyny, ei arfer fel annghydsain, os na fydd yn nod mynedawl; a rhaid ei baratoi a'i adferu yn rheolaidd, a hyny yn gyffredin, trwy symud trwy donau yn y *bass*.

4. Os dymunir cyfansoddi mewn pedwar o leisiau, gan ddilyn trwy y deuddegfed, ni ddylid arfer, ar un cyfrif, yr ysgogiad cydfynedawl, na'r annghydseiniau paratoawl; ac yn y ddau lais cyfatebol, heblaw cymeryd y trydydd, y pumed, a'r wythfed yn olynol, dylid defnyddio rhyw gyfryngau eraill, yn neillduol ar nodau pwysleisiol y *bar*. Os sylwir yn fanwl ar y tri pheth yna, ni raid gwneud dim mwy nag ychwanegu dau lais at y ddau lais arall, un yn y degfed, neu y trydydd islaw y llais uchaf, a'r llall yn y degfed, neu y trydydd uwchlaw y llais isaf; yna bydd y cyfansoddiad yn bedwar o leisiau, ac yn rheolaidd.

ESIAMPL.



Yn yr esiamplau a nodwyd, mae eu terfyniadau yn gyffredin yn ddiffygiol, gan hyny, y mae y rhai hyn yn gofyn nodau ychwanegol er ffurfio diweddeb; ac ar rai prydiau, mae *sharps* a *flats* damweiniol yn angenrheidiol er mwyn y beroriaeth a'r gynghanedd.

---

## PEN. III.

### *Efelychiant.* (Imitation.)

Wrth efelychiad y meddylir fod un, neu lawer o'r lleisiau, yn ailadrodd rhyw ran o'r beroriaeth, yn olynol i'w gilydd; weithiau at y pellder o un *bar*, neu ddau, bryd arall yr holl amser; gellir ei wneud yn yr holl gyfryngau, o'r unsain hyd yr wythfed, pa un bynag ai uwchlaw ai islaw y beroriaeth wreiddiol, heb wahaniaeth. Golyger i'r sylfon fod mewn un llais, ac ar ei derfyniad, fod y llais arall yn ailadrodd yr un sylfon yn gyflawn, neu mewn rhan, gan ddechreu yn yr unsain, eilfed, trydydd, neu ryw gyfrwng arall, uwchlaw neu islaw y sylfon, gyda neu heb drawsgyweiriad. Y cyfryw efelychiad a elwir yn efelychiad cyffredin *(an ordinary imitation)*; ond os dechreua yr ail lais ar y sylfon, cyn i'r cyntaf ei orphen, gelwir hyny yn efelychiad celfyddydol (*scientific*); gellir gwneuthur y blaenaf yn lled hawdd, ond gofynir talent a deheurwydd i gyfansoddi y rhyw olaf. Nyni a gymerwn yr esiampl ganlynol o beroriaeth fel sylfon ;--




Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod y llais arall yn ailadrodd y sylfon wythawd islaw, gan ddechreu yn y seithfed *bar*, yn yr hwn y mae y sylfon gyntaf yn gorphen. Gelwir hyn yn efelychiad cyffredin, ond os daw y llais efelychol i mewn yn y trydydd *bar*, gelwir hyny yn efelychiad celfyddydol.

ESIAMPL.




Rhaid cael nodau ychwanegol yn fynych mewn efelychiad celfyddydol, er gwneuthur y gynghanedd yn fwy eglur a rheolaidd, fel yn yr 8fed a'r 9fed *bar*, yn yr esiampl uchod.

Y mae efelychiadau eraill heblaw y ddau a nodwyd, sef yn 1. Efelychiad rheolaidd (*canonical*), yr hwn a efelycha y sylfon yn gwbl oll.

2. Efelychiad rhanol (*partial*), yr hwn nad yw yn efelychu ond rhyw ran ddewisedig o'r sylfon, naill ai yn nechreu, yn niwedd, neu ryw ran arall o'r beroriaeth.

3. Efelychiad gwrthwynebol (*contrary*), yn yr hwn y mae y ddau lais yn dilyn trwy yr un cyfryngau, a chyd a nodau o'r un parhad; ond fod y beroriaeth yn y llais efelychol, bob amser, yn esgyn, pan y mae y sylfon yn disgyn; a phan y mae y llais efelychol yn disgyn, y mae y sylfon yn esgyn.

4. Efelychiad trwy ychwanegiad (*augmentation*), yn yr hwn y mae nodau y llais efelychol yn cael eu dyblu mewn hyd neu amser, i nodau y sylfon; h.y. os *crotchets* fydd nodau y sylfon, yna *minims* fydd nodau yr efelychiad.

5. Efelychiad trwy leihad (*diminution*), yn yr hwn y mae nodau y llais efelychol yn fyrach na nodau y sylfon; h.y. os *minims* fydd nodau y sylfon, yna *crotchets* fydd nodau yr efelychiad.

Gallasem roddi esiamplau o'r gwahanol efelychiadau, ond ni oddef ein terfynau.

Rhaid gosod y sylfon yn y llais a fo yn efelychu gyntaf, yn y fath fodd, na fyddo iddo droseddu rheolau dilyniad, cydbwysiad, paratoad, tarawiad, adferiad, a'r holl gynghanedd, fel mewn cyfansoddiant dyblyg.

Digon yw i ddau lais efelychu eu gilydd, ac i'r lleisiau eraill lenwi y gynghanedd; neu os bydd i'r holl leisiau efelychu, ac i'r gynghanedd fod yn gywir, grymusaf a harddaf fydd y cyfansoddiad drwy hyny; yr hyn a ellir gyda thalent, medr, chwaeth, a manylrwydd.

---

## PEN. IV.

### *Ehediant.* (Fugue.)

Y MAE y gair *fugue* yn tarddu o'r gair Lladinaidd *fuga*, hedfa, am fod y gwahanol leisiau yn ymddangos fel yn ehedeg y naill o flaen y llall.

Er mwyn iawn ddeall ehediant, rhaid i ni egluro ychydig, yn mlaenaf, ar ei berthynasau. Y mae yn perthyn i ehediant yn

1. Sylfon, neu brif beroriaeth y cyfansoddiad, ac y mae yn ymddibynu yn fawr ar y dewisiad a wneir o sylfon; rhaid iddo fod yn fyr, yn syml, ac yn darawiadol.

2. Atebiad (*answer*) y sylfon; yr hyn nid yw amgen na thrawsddodiad o'r sylfon.

3. Y sail (*groundwork*), sef yr elfenau sydd yn ffurfio sail ehediant, gan mwyaf, ydynt efelychiadau mor gyflawn ag a ellir eu cyfansoddi, drwy y sylfon a'r atebiad.

4. Rhaniadau cynrywiol (*essential divisions*), y rhai ydynt, yn

1. Trefniant (*exposition*); sef y dull yn mha un, ar ddechreuad y beroriaeth, y mae pob llais yn cychwyn, a'r ffurf ag y mae y sylfon a'r atebiad yn cael eu gosod y tro cyntaf; er esiampl, mewn deulais, mae un llais yn cael ei fwriadu i fod yn sylfon, a'r llall i fod yn atebiad; mewn tri llais, rhoddir y sylfon, yna'r atebiad, wedi hyny y sylfon, neu yn achlysurol, y sylfon, sylfon, a'r atebiad wedi hyny; mewn pedwar llais, gosodir yn gyffredin y sylfon yn gyntaf, yr atebiad yn ail, sylfon yn drydydd, a'r atebiad yn bedwarydd. Gelwir hyn mewn ehediant, yn drefniant.

2. Adgân (*episode*). Adgan yw y rhan hono o ehediant nad yw yn hanfodol angenrheidiol iddo; ond cynwysa y

rhanau hyny, ag sydd heb fod yn cyfansoddi y sylfon na'r atebiad.

3. Uniant (*stretto*). Uniant yw cylymu y sylfon a'r atebiad a'u gilydd, gan eu gwneud yn un beroriaeth; h. y. cynghaneddu y naill gyda'r llall. Mewn ehediant, yr ydym yn aros yn gyffredin i'r sylfon gael ei orphen cyn dechreu ar yr atebiad; ond mewn uniant, mae yr atebiad yn dod i mewn cyn gorphen y sylfon, ac yn cynghaneddu a'u gilydd, heb droseddu un o'r rheolau. Amlwg yw fod rhai sylfonau yn caniatau hyny yn fwy naturiol na'u gilydd, a chyda llai o gyfnewidiad yn eu ffurf wreiddiol.

4. *Canon*. Canon mewn cerddoriaeth, a olyga y rhyw hwnw o ehediant yn mha un y mae y lleisiau yn efelychu eu gilydd yn y modd cywreiniaf, ac heb gyfnewid dim ar eu gilydd. Cyduna pob cerddor mae canon ydyw y rhan fwyaf swynol mewn cerddoriaeth, ac y gofynir medrusrwydd digyffelyb o'r bron i'w ffurfio.

Wedi i ni egluro ychydig ar yr ymadroddion (*terms*), sylwn bellach ar y rheolau.

### *Rheolau.*

1. Pan y mae y sylfon yn dechreu ar y cyweirnod, ac yn diweddu ar y cyweirnod hefyd, wedi gorphen y sylfon, rhaid ysgrifenu yr atebiad (yn y llais arall), gan dechreu ar y llywydd, a diweddu ar y llywydd hefyd.

ESIAMPL.




2. Pan y mae y sylfon yn cyrhaeddyd o'r ~~cyweirnod~~ i'r ~~llywydd~~, rhaid i'r atebiad gyrhaeddyd o'r ~~llywydd~~ i'r ~~cyweirnod.~~

ESIAMPL.



3. Pan y mae y sylfon yn trawsgyweirio o'r cyweirnod i'r llywydd, rhaid i'r atebiad drawsgyweirio o'r llywydd i'r cyweirnod; felly er ffurfio yr atebiad, rhaid trawsddodi y sylfon bump yn uwch, neu bedwar yn is, a thrawsgyweirio yr atebiad bedwar yn uwch, neu bump yn is.

ESIAMPL.

Sylfon. Atebiad.



4. Pan yr ydym yn cael y cyweirnod a'r llywydd yn agos i'w gilydd, ar ddechreuad y sylfon, yr ydym dan yr angenrheidrwydd o gyfnewid yr ysgogiad, a neidiadau, y sylfon yn yr atebiad; h. y. mewn llawer cynllun (*model*) rhaid cyfnewid yn yr atebiad, yr eilfed i'r trydydd, neu'r eilfed i'r unsain disgynol, neu esgynol; y trydydd i'r pedwarydd, &c., ac y mae hyny yn angenrheidiol er gochelyd myned i gyweirnod rhy anmherthynasol yn yr atebiad.

5. Dylid trawsgyweirio yn fynych, a hyny yn benaf i'r cyweirnodau perthynasol. Ni ddylid ailadrodd yr un peth yn yr un cyweirnod, heb fod naill ai ail drefniad yn y lleisiau, neu wrthddulliad neillduol arnynt.

Bellach rhoddwn esiampl o ehediant o'r ffurf mwyaf syml, ac ymdrechwn wneuthur sylwadau eglurhaol arni.




Ehediant yn F.



*Parhad o'r esiampl flaenorol.*




Trwydded.










Oddiwrth yr esiampl, gwelwn fod y *bar* 1, 2, 3, a'r nod cyntaf o'r 4 *bar*, yn cynwys y sylfon, yr hwn sydd yn dechreu ac yn diweddu gyda'r cyweirnod; yn y 4 *bar*, mae y *treble* yn dechreu yr atebiad ar y C, neu y llywydd, ac yn diweddu ar nod cyntaf y 7 *bar*; ac ar yr un pryd mae y *bass* yn llenwi y gynghanedd, yn ol rheolau

cynghanedd addurnol. Yn y 7 *bar*, gyd ag E, y nod cyntaf, y mae y *bass* yn cynyg ar sylfon er efelychiad; ac y mae y *treble* gyda G, y nod diweddaf o'r un *bar*, yn ateb y cyfryw yn y trydydd uwchlaw. Yn yr 11 a'r 12 *bar*, y mae y ddiweddeb gyntaf yn cael ei gwneud ar y C, pumed y cyweirnod; terfyna hyn y rhan gyntaf o'r ehediant. Ar ol ychydig nodau yn y *bass*, mae y *treble*, yr hwn oedd o'r blaen yn gwneud yr atebiad, yn cymeryd y sylfon yn y 14 *bar*, yn y cyweirnod cyntefig, bump islaw yr atebiad. Gellir ei gymeryd wythawd yn uwch, os cydwedda hyny a'r llais a fydd yn ei gyflawni. Yn yr 16 *bar*, mae y *bass*, gan yr hwn yr oedd y sylfon o'r blaen, yn gwneuthur yr atebiad, ond mewn ffurf fyrach na'r efelychiad blaenorol. O'r 19 *bar* hyd y 24, mae y ddau lais, drwy efelychiad byr, yn ffurfio yr ail ddiweddeb yn A leiaf, trydydd y cyweirnod dechreuol; dyna yr ail ran o'r ehediant. Dechreua y deulais bellach ffurfio yr uniant. Yn y 25 *bar*, mae y *bass* yn dechreu y sylfon ar y cyweirnod, a'r *treble* yn dechreu yr atebiad ar y llywydd, yn y 26 *bar*. O'r 28 *bar* i'r diwedd, y mae tri o efelychiadau gwahanol yn cael eu defnyddio; nid o angenrheidrwydd, ond er addurno a hwyhau yr ehediant, gan ffurfio y ddiweddeb ddiweddaf ar y cyweirnod dechreuol; ac felly terfyna y drydedd ran, a'r ddiweddaf o'r ehediant.

*(O Abrechtsberger's Theoretical works, vol. 1.)*

---

*Ehediant mewn tri neu bedwar llais.*

Y rheolau tu ag at gyfansoddi y cyfryw, ydynt y rhai canlynol:—

1. Diweddeb berffaith, yn mha un y mae yr holl leisiau yn cydgyfarfod, a ddefnyddir yn unig i derfynu yr ehediant, er y defnyddir ef rai prydiau cyn dyfodiad yr uniant ~~ehediant~~ diweddaf, a'r prif uniant (*stretto*) i mewn.

2. Diweddeb anmherffaith, neu nodau cydbwysol, a ddefnyddir yn fynych, fel y byddo iddynt ddwyn sylw y gwrandawyr.

3. Gellir trawsddodi y sylfon, neu'r atebiad, neu'r ddau os dewisir, i'r cyweirnodau perthynasol, yn nghanol yr ehediant.

4. Dylai yr atebiad ddechreu, naill ai uwchlaw neu islaw y nod diweddaf o'r sylfon; ond os nad ellir gwneud hyny, rhaid gadael y nod diweddaf o'r sylfon heb gynghanedd, ac i'r atebiad ddechreu yn uniongyrchol ar ol hyny.

5. Rhaid i un nôd, bob amser, gael ei daro am bob tarawiad o'r amser mewn un llais o leiaf, pa amser bynag fyddo, rhag i'r beroriaeth fod yn nychlyd ac undonog, ond bob amser yn meddu arddull (*style*), a chynghanedd addurnol.

*Esiampl o ehediant mewn tri llais.*



Ds. 1.







Ds. 2.





*Parhad o'r esiampl flaenorol.*







Ds. 3.



Ds. 5.





Ds. 4.







Mae yr ehediant blaenorol yn gyfansoddedig, nid yn ol yr hen ffurf, ond yn ol yr arddull presenol, fe ganfyddir trwyddedau *(licences)* wedi cael eu defnyddio yndcto, ac y maent wedi eu nodi a Ds. Y mae trwyddedau yn ganiataol i bob efrydydd, y Ds cyntaf sydd uwchlaw C, yn y *tenor*, 4 *bar*, a ddengys fod yn ganiataol dechreu yr atebiad gyda nod llai, neu hwy, o ran amser, na nod dechreuol y sylfon; perthyna yr un sylwadau hefyd i'r nod terfynol. Yr ail Ds sydd uwchlaw F, yn y *tenor*, 17 *bar*, a ddengys fod uniant, neu ddynesiad, yn cael ei wneud rhwng y *tenor* a'r *treble*, yr hyn sydd drefniant celfyddydol, ac nid angenrheidiol. Y trydydd Ds sydd odditan A, yn y *bass*, a arwydda fod y beroriaeth yn cael ei harwain i B yn y cywair mwyaf, trwy *flats*, ac nid C naturiol, trwydded a oddefir mewn ehediant yn neillduol, pan y mae yn ymuno mewn uniant, fel y mae yn digwydd yn y lle hwn. Y pedwarydd Ds sydd odditan F, yn y *bass*, yn nechreu yr uniant diweddaf, a ddengys nad yw yn angenrheidiol i'r llais sydd yn dechreu yr ehediant, ddechreu yr uniant hefyd. Y pumed Ds sydd uwchlaw C, yn y *tenor*, yr hon C sydd yn dechreu yr atebiad, a ddengys y gellid yn gystal gymeryd y sylfon drachefn drwy neidiad *(skip)* naill ai wrth esgyn ai wrth ddisgyn, neu yntau ar ol gorphwysnod *semibreve*, neu orphwysnod *crotchet*.

Hyderwn fod y sylwadau, yn nghyd a'r rheolau blaenorol, yn ddigon at gyfansoddi ehediant yn mhob llais.

---

## PEN. V

### *Ehediant Dyblyg.* (Double Fugue.)

EHEDIANT dyblyg yw ehediant gyda dau sylfon; o'r braidd y mae ehediant gyda dau sylfon, hyd yn oed pan mewn pedwar llais, yn gwahaniaethu oddiwrth ehediant gyda chyfansoddiant dyblyg, yn yr wythawd.

I gyfansoddi y rhyw yma o ehediant, rhaid sylwi ar holl reolau ehediant sengl, a chyfansoddiant dyblyg yr wythawd, yn fanwl iawn, heb hyny, ni oddef y sylfonau eu gwrthddullio.

Pan y mae ehediant dyblyg yn cynwys tri neu ragor o sylfonau, rhaid gweithredu yn wahanol. Wedi cael allan y brif sylfon, rhaid cyfansoddi yr ail sylfon yn ol rheolau cyfansoddiant dyblyg yn yr wythawd; rhaid i'r brif sylfon gael atebiad rheolaidd; ond nid yw y rheolau yn gofyn cymaint manyldra gyd a'r ail, gan fod yn rhaid i atebiad yr ail sylfon ddilyn atebiad y sylfon gyntaf; yna, pan y mae yr olaf yn cyfnewid unrhyw beth yn y beroriaeth, rhaid i'r blaenaf wneud yr un modd. Rhoddwn esiampl o ddau sylfon mewn ehediant dyblyg, gyd a'u hatebiadau, er dangos pa fodd y maent yn cydgyfarfod, er ffurfio trefniant (*exposition*) yr ehediant dyblyg.

Y brif sylfon.



Yr ail sylfon.



Atebiad y brif sylfon.



Atebiad yr ail sylfon.



Y rheolau at gyfansoddi y cyfryw gyfansoddiadau, ydynt y rhai canlynol:—

1. Ni ellir defnyddio unrhyw nawfed paratoawl.

2. Ni ellir defnyddio dau bedwarydd dilynol mewn ysgogiad cydsymudawl; oblegid, trwy wrthddulliad cynyrchant bumpau dilynol.

3. Ni ellir defnyddio pumpau mewn ysgogiad gwyrsymudawl, ac ni ellir defnyddio chwechau i baratoi pumpau.

4. Defnyddir y chweched mewn ysgogiad gwyrsymudawl yn unigol, a phan ddefnyddier ef mewn pedwar o leisiau, dilyner ef gyda $^{8}_{3}$ neu $^{3}_{1}$.

O.Y. Wrth droseddu y rheol gyntaf, ceir fod gwallau yn y ddau wrthddulliad o ehediant, neu gyfansoddiant gyda thri sylfon, cynyrcha y naill $^{2\,3}_{7\,8}$ a'r llall $^{7\,6}_{6\,-}$. Wrth droseddu y drydedd reol, ceir *cord* caniataol unwaith, sef $^{6}_{3}$, ond yr ail waith ceir *cord* $^{6}_{4}$, tarawiad unigol o'r hwn sydd waharddedig, yn neillduol mewn cyfansoddiad lleisiol. Trwy esgeuluso y bedwarydd reol, cynyrcha y gwrthddulliad y naill dro y *cord* cyffredin $^{5}_{3}$, y tro arall y *cord* $^{6}_{4}$, pa rai sydd waharddedig mewn gosodiad,* neu aildarawiad;† nid ellir defnyddio y trydydd mewn *cord* y chweched, ond gellir dyblu y nod sylfaenol (*fundamental note*), neu y chweched, os na fydd yn nod arweiniol, yr hyn a gynyrcha $^{6\,6}_{1\,8}$ neu $^{6}_{6}$.

Drwy sylwi yn fanwl ar y pedair rheol flaenorol, yn nghyd a rheolau cyfansoddiant dyblyg yn yr wythawd, gellir gwrthddullio ehediant gyda thri sylfon i chwech o wahanol ffyrdd, drwy gymeryd y gosodiad (*proposition*) i mewn yn gwbl, gellir gwrthddullio ehediant gyda phedwar sylfon, i bedair-ar-hugain o wahanol ffyrdd. Cyn cyfansoddi y cyfryw ehediant byddai yn dda gwneud prawf o dri neu bedwar o'r gwrthddulliau, er mwyn gweled a fydd y sylfonau yn bur a chywir ai peidio. Mewn ehediant dyblyg gyda thri sylfon, y prif wrthddull-

* Wrth y gair gosodiad yr ehediant *(proposition of a fugue)*, y meddylir y rhan flaenaf o'r cyfansoddiad, yr hwn a gynwys y sylfon a'i holl berthynasau, pa faint bynag a fyddo eu rhifedi.

†Aildarawiad *(repercussion)* ydyw cyfres o ddilyniadau yn cael eu gwneud gan y sylfonau a'r atebiadau, mewn gwahanol ffurfiau.

iau ydynt y rhai canlynol, a dylid gwneuthur prawf o honynt yn mlaen llaw.

| A | B | C |
|---|---|---|
| *Treble,* | *Bass,* | *Tenor;* |
| *Tenor,* | *Treble,* | *Bass,* |
| *Bass.* | *Tenor.* | *Treble.* |

Yn mhob un o'r tri gwrthddull blaenorol, gallwn ddefnyddio y dull a fernir oraf, ryw un o'r tri sylfon, ac fe all pob un o'r gwrthddulliau blaenorol roddi y tri gwrthddull a ganlyn, pa rai a elwir yn wrthddulliau israddol, am eu bod yn dyfod o'r prif wrthddulliau.

| A' | B' | C' |
|---|---|---|
| *Tenor,* | *Treble,* | *Bass,* |
| *Treble,* | *Bass,* | *Tenor,* |
| *Bass.* | *Tenor.* | *Treble.* |

Efallai mai nid anfuddiol fyddai rhoddi esiampl o'r chwe' gwrthddull a nodwyd.

A

Y drydedd sylfon.



Yr ail sylfon.




Y brif sylfon gyntaf.



*Parhad o'r esiampl flaenorol.*

A[1] Yr ail sylfon.



Y drydedd sylfon.




Y sylfon gyntaf.



B Y sylfon gyntaf.



Y drydedd sylfon.



Yr ail sylfon.



*Parhad o'r esiampl flaenorol.*

B¹

Y drydedd sylfon.



Y sylfon gyntaf.



Yr ail sylfon.




C

Yr ail sylfon.



Y sylfon gyntaf.



Y drydedd sylfon.



*Parhad o'r esiampl flaenorol.*

C[1] Y sylfon gyntaf.



Yr ail sylfcn.



Y drydedd sylfon.



5 6/5 6/4 6/5 6/4 6/5 6/4♯ 6

Nid yw yn angenrheidiol i'r holl gyfnewidiadau hyn gael eu defnyddio mewn un ehediant dyblyg, nac ychwaith yn hanfodol angenrheidiol i'r tri sylfon ddilyn eu gilydd o'r ddau, neu'r tri *bar* cyntaf, fel yn yr esiamplau a nodwyd. Gellir gweled ehediant dyblyg gan awdwyr da, yn mha un y mae pob sylfon yn dilyn yn y blaen yn unigol, am amser, ac yna, mae yr ail sylfon yn ymuno gyda'r gyntaf, &c.




GWELLIANT GWALLAU.

Yn Rhan I, tu dal. 48, yn y bedwaredd esiampl, dylai $\frac{3}{4}$ fod yn lle 𝄴

Yn Rhan I, tu dal. 49, mewn rhai rhifynau, y mae y gogwyddnodau wedi eu hargraffu mewn nodau cyffredin yn lle nodau bychain.

# CYNWYSIAD.

## RHAN I.



## RHAN II.

## RHAN III.

# ATTODIAD,

YN CYNWYS

## GWERSI ER YMARFER LLEISIO.

Dylai yr efrydydd ddysgu y gwersi yn gywir, fel y gallo eu seinio yn rhwydd a naturiol yn mhob cyweirnod.

### GWERS 1.

Do re mi fa sol la si do si la sol fa mi re do




### GWERS 2.









GWERS 3.



8 7   8 7 6   8 6   8 7 6   5   8 5



8 7 6 5   4   8 4   8 7 6   5 4 3   8 3



8 7 6 5   4 3 2   8 2   8 7 6   5 4 3 2   1   8 1

GWERS 4.

*Trydyddau.*



GWERS 5.



1   3   5   8   5   3   1

GWERS 6.





GWERS 7.

*Ymarferiad yn y Cywair lleiaf.*




GWERS 8.

*Trydyddau.*



Dymunir ar yr efrydydd drawsddodi y gwersi blaenorol i'r cyweirnod a'r llais a fyddo yn cydweddu oreu iddo ef. Cynghorem ef mewn modd neillduol, i ddysgu y gwersi mor berffaith ac y gall, wedi hyny dewised y tonau melysaf, hawddaf, a mwyaf naturiol.

*Deulais.—Y Cywair mwyaf.*






*Clywch y sî sydd yn y goedwig.*











*Clywch y sî sydd yn y goedwig.—Parhad.*

Mor ddymunol ydyw gwrando Seiniau hon ar hyd y dydd;

Llona hon y trist ei feddwl, Nes y llama, nes y llama,

Clywch y sî sydd yn y goedwig,

Nes y llama fel yr hydd.

*Clywch y sŵ sydd yn y goedwig.—Parhad.*

Hoff beroriaeth natur lon; Bryn a dyffryn a adseinia

Felys ber ganiadau hon.

Enyn fyfyrdodau ynom

Dengys i ni anfeidroldeb.

Dyfnach nac a draetha iaith;

*Clywch y sî sydd yn y goedwig.—Parhad.*

Awdwr natur, Awdwr natur, Awdwr natur yn ei waith.

Dyfnach nac a draetha iaith;

Enyn fyfyrdodau ynom

Dengys i ni anfeidroldeb Awdwr natur yn ei waith,

*Clywch y sî sydd yn y goedwig.—Parhad.*

*Araf.* P.

Awdwr natur yn ei waith.

P

*Nos da'wch.*

Yn awr gyfeillion cu, Ym.......ad...o raid i ni;

Dy...wed..wn yn gytun, Nos da'wch i'n bob yn un.

Nos da'wch. :/|: :/|: :/|: :/|:

Nos da'wch. :/|: :/|: :/|: :/|:

Nos da'wch. :/|: :/|: :/|:

Nos da'wch. :/|: :/|:

BALA; ARGRAFFWYD GAN G. JONES.

YR

# ANTHEMAU A'R TONAU

# BUDDUGOL

YN

# EISTEDDFOD BETHESDA,

*Dydd Iau Dyrchafael*, 1851.

DAN OLYGIAETH

**Y PARCH. E. STEPHENS, DWYGYFYLCHI.**

BALA;

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN GRIFFITH JONES.

1852.

David Williams

# ANTHEM.

ESAY xlii. 10, 8, 11, 12.

## GAN ALAWYDD;

SEF

DAVID ROBERTS, CAE'R-BERLLAN, BETHESDA.

Met. 100=

Cenwch, Cenwch i'r Arglwydd, Cenwch i'r Arglwydd


gân newydd, Cenwch i'r Arglwydd gân newydd, Cenwch i'r Arglwydd gân


Cenwch i'r Arglwydd gân newydd, Cenwch i'r


Cenwch i'r Arglwydd gân newydd,


Cenwch i'r Arglwydd


newydd, Cenwch i'r Arglwydd gân newydd, Cenwch i'r Arglwydd, a'l


Arglwydd gân newydd, Cenwch i'r Arglwydd gân newydd, Cenwch i'r Arglwydd,


Cenwch i'r Arglwydd gân newydd, Cenwch i'r Arglwydd gân newydd, a'i


gân newydd, Cenwch i'r Arglwydd gân newydd, Cenwch i'r Arglwydd gân newydd,


. . . . . . . . . . iant ni roddaf i arall, na'm mawl i ddelwau cerfied . . . ig.

Met. 126=


Caned preswyl . . wyr y graig, Caned,


Caned preswylwyr,






Caned preswylwyr y graig, bloeddiant o ben y mynyddoedd,


Caned preswylwyr y graig,





DOUBLE CHORUS.—FIRST CHOIR.











SECOND CHOIR.











FIRST CHOIR.



bloeddiant, bloeddiant o ben y mynyddoedd, bloeddiant, bloeddiant, bloeddiant o





bloeddiant, bloeddiant o ben y mynyddoedd, bloeddiant, bloeddiant, bloeddiant o



SECOND CHOIR.



ben y mynyddoedd, bloeddiant, bloeddiant, bloeddiant o ben y mynyddoedd, bloeddiant,





ben y mynyddoedd, bloeddiant, bloeddiant, bloeddiant o ben y mynyddoedd, bloeddiant,



FIRST CHOIR.

ben y mynyddoedd, bloeddiant, bloeddiant, bloeddiant, bloeddiant,

ben y mynyddoedd, bloeddiant, bloeddiant, bloeddiant, bloeddiant,

SECOND CHOIR.

bloeddiant, bloeddiant o ben y mynyddoedd, bloeddiant, bloeddiant,

bloeddiant, bloeddiant o ben y mynyddoedd, bloeddiant, bloeddiant,

FIRST CHOIR.











SECOND CHOIR.











FIRST CHOIR.











SECOND CHOIR.












. . . . iant i'r Arglwydd, a myn . . eg . ant ei fawl yn yr yn .






. . . . . iant i'r Arglwydd, a myn . . eg . ant ei fawl yn yr yn .


. . . ysoedd,


rhoddant o . . . . gon . . . . . . iant i'r Arglwydd, a myn .


rhoddant o . . . . gon . . . . . . iant i'r Arglwydd, a myn .




a myn . .


. . . eg . . ant ei fawl yn yr yn . . . ysoedd, a myn . .


. . . eg . . ant ei fawl, rhoddant o . . .


a myn . .


. . . eg . . ant ei fawl yn yr yn . . . ysoedd, a myn . .


. . . . egant ei fawl yn yr yn . . . ysoedd, a myn .


. . . . . . gon . . . . . . . iant i'r Ar . . . glwydd, a myn . .


. . . . eg . . ant ei fawl yn yr yn . . . ysoedd, a myn .

. . eg . . . ant ei fawl yn yr yn . . . . . ysoedd.

. . eg . . ant ei fawl yn yr yn . . . . . ysoedd.

. . eg . . . ant ei fawl yn yr yn . . . . . ysoedd.

. . eg . . ant ei fawl yn yr yn . . . . ysoedd.

Met. 126=

Rhoddant ogoniant i'r Arglwydd, rhoddant, rhoddant ogoniant i'r Arglwydd,

Rhoddant, rhoddant o . . goniant i'r Arglwydd, rhoddant, rhoddant ogoniant i'r

Rhoddant ogoniant, rhoddant ogoniant i'r Arglwydd, rhoddant, rhoddant o . .

Rhoddant ogoniant i'r Arglwydd, rhoddant ogoniant i'r Arglwydd, rhoddant,


rhoddant ogoniant, rhoddant ogon . . . . . . . . . . . iant i'r Arglwydd,


Arglwydd,
rhoddant o . . . . gon . . iant i'r Arglwydd,


. . goniant i'r Arglwydd,
rhoddant o . . gon . iant i'r Arglwydd,


rhoddant ogoniant i'r Arglwydd,


a mynegant ei fawl yn yr ynysoedd,


a mynegant ei fawl


a mynegant ei fawl yn yr ynysoedd,


a mynegant ei fawl

Met. 144=


Rhoddant o . . . gon . . .






Rhoddant o . . . . gon . . . iant i'r Arglwydd, a myn . . . eg . . ant ei


. . . iant i'r Arglwydd, a myn . . . eg . . ant ei fawl




rhoddant o . . . . . . . gon . . . . . . . iant i'r


fawl yn yr ynysoedd, a myn . . . . eg . . ant ei fawl yn

yn yr yn . : . ysoedd, a myn . . . . eg . . ant ei fawl yn yr yn .

rhoddant o . . . . . . . . gon . . . . . iant i'r Ar .

Arglwydd, a myn . . . eg . ant ei fawl yn yr yn .

yr yn . . . ysoedd, a myn . . . eg . . ant ei fawl yn yr yn .

. . ysoedd, a myn . . . . eg . . ant ei fawl, a myn .

. . . glwydd, a myn . . . . . . eg . ant ei fawl, a myn .

. . ysoedd, a myn . egant ei fawl, a myn .

. . ysoedd, a myn . egant ei fawl, a myn .

*Araf.*

. . eg . ant ei fawl yn yr yn . . . ys . oedd.

. . . egant ei fawl, ei fawl yn yr yn . . . ys . oedd.

. . eg . ant ei fawl, a myn . . eg . ant ei fawl yn yr yn . . . ys . oedd.

. . egant ei fawl, ei fawl yn yr yn . . . ys . oedd.



# ANTHEM.

Hymn 536. Cas. S. Roberts.

## GAN ASAPH;

SEF

GRIFFITH ROWLANDS, BETHESDA.

Met. 72 = ♩ *Mawreddog.*

Eist . . . edd . . ai teithiwr blin ar làn yr af . on

ddu, A'i lusern yn ei law, Ddys . . . gleir . . . . iai ar y
Ddysgleiriai ar y
Ddysgleiriai ar y
Ddys . . . gleir . . . . iai ar y
Met. 152
lli, Ddysgleiriai ar y lli: Yn ngoleu hon
lli, Ddysgleiriai ar y lli:
lli, Ddysgleiriai ar y lli:
Hyf a bywiog.
lli, Ddysgleiriai ar y lli: Yn ngoleu hon fe wel y làn,

DEUAWD. Met. 60=♩

*Tyner iawn.*

Wrth ddisgyn at y dwr Hyd risiau

Wrth ddisgyn at y dwr Hyd

Met. 96=♩ *Hyf.*

brenin braw, Fe ddeil y lamp o hyd, Yn

risiau brenin braw, Fe ddeil ei lamp o hyd,

oleu yn ei law, Yn o . . . . . . . leu yn ei law;

Yn oleu yn ei law, Yn o . . . . . . . . leu yn ei law;

Met. 132=♩ *Hyf a bywiog.*

Ei wel'd yn d'od wrth lewyrch ho . . . . . . . .

Gall teulu'r lân, er brig y dòn,

F

CYDGAN. Met. 132


d'od i làn y dwr I dòri grym y lli: Ac â i wlad, lle na raid




Ac â i wlad lle na raid




Gwan.
cael Byth lusern mwy, na goleu haul, Byth lusern


cael Byth lusern mwy, na goleu haul.


cael Byth lusern mwy, na goleu haul.


cael Byth lusern mwy, na goleu haul,


Met. 152=
Cryf a bywiog.
mwy. Ac â i wlad lle na raid cael Byth lusern




Ac â i wlad lle na raid
Gwan.


Byth lusern mwy, Ac


mwy, na goleu haul; Byth lusern mwy, na goleu


Ac â i wlad lle na raid cael Byth lusern mwy, na goleu


cael Byth lusern mwy, na goleu haul, Byth lusern mwy, na goleu


â i wlad lle na raid cael Byth lusern mwy, na goleu haul, Byth lusern


haul, Ac â i wlad lle na raid cael Byth lusern mwy






mwy, Ac â i wlad lle na raid cael Byth lusern mwy


Araf iawn yr ail waith.
1
2
na goleu haul,


1
2


1
2


1
2

G

# LLUSERN YW DY AIR.

Hymn 536. Casg. S. Roberts.

## GAN ADERYN.

*Galarus.*

Eistedd . . . ai teithiwr blin Ar làn yr afon

*Bywiog.*



ddu, Ar làn yr afon ddu. A'i lusern yn ei




law, Ddysgleiriai ar y lli, Ddysgleiriai ar y lli:





Yn ngoleu hon fe wel y lân, Ac engyl fyrdd o




gylch y fan, Ac engyl fyrdd o gylch y fan.


Cryf.





lamp o hyd yn oleu yn ei law, yn oleu yn ei law.





*Hyf.*





Gall teulu'r lan er brig y dòn, Ei wel'd yn d'od wrth lewyrch hon. Gall





teulu'r lan er brig y don, Ei wel'd yn d'od wrth

Gall teulu'r lan er brig y don, Ei wel'd yn d'od wrth

lewyrch hon, Ei wel'd yn d'od wrth lewyrch hon.

*Mwynaidd.*



Ad . . neb . ydd yn eu plith, Ei arch . . offeiriad cu.





yn d'od i lan y dwr i dòri grym y lli, i



# CAN MOSES.

DATGUDDIAD XV. 3, 4.

## GAN ORPHEUS.

DEUAWD.

*p*

A chanu y maent gân *Moses*. A chanu y

*p*

A chanu y maent gân Moses, A

maent gân Moses, gwasanaethwr Duw.

chânu y maent gân Moses, gwasanaethwr Duw gwasanaethwr.


gwasanaethwr Duw, a chân yr


Duw, gwasanaethwr Duw, a chân yr


Oen, a chân yr Oen.


Oen, a chân yr Oen, Gan ddy- . . . . . wedyd—

CHORUS.




Mawr a rhyfedd yw dy weithredoedd O Arglwydd Dduw Holl-






ffyrdd di,
Brenin y saint.
Cyfiawn &c.




p
Cyfiawn a chywir yw dy


Cyfiawn &c.


yw dy ffyrdd di Brenin y saint.
Cyfiawn &c.


Cyfiawn a chywir yw dy


ffyrdd di brenin y saint.


yw dy ffyrdd di Brenin y saint.

*p* CHORUS.




*p*
Pwy, Pwy ni'th ofna di, O Arglwydd, Pwy ni'th


*p*


*p*




*Bywiog.*


ofna di O Arglwydd, ac ni o . . gon . . edd . . a dy enw,




blegyd yr holl genhedloedd a ddeuant, a ddeuant, Oblegyd yr holl


Cyflym.
Oblegyd yr holl genhedloedd a ddeuant, a


Cyflym.
Oblegyd yr holl gen-




genhedloedd Oblegyd yr holl genhedloedd &c.


ddeuant, O . . blegyd yr holl gen . . hedloedd a ddeuant, ac a addolant


hedloedd a ddeuant, a ddeuant, a ddeuant, ac &c.


Cyflym.
Oblegyd yr holl gen . . hedloedd, &c.


pp


pp
ger dy fron di. Ac a a, . . . ddolant ger dy fron di.


pp


pp


Ychydig yn arafach.
f
Oblegyd dy farnu di a eg . . . lurwyd. Oblegyd dy farnu


O


Oblegyd dy farnu


Oblegyd dy farnu di a eglurwyd. O


di a eglurwyd. Oblegyd dy farnau di a eg-

bleg d dy farnau di a eglurwyd.

di a eg . . . lurwyd. Oblegyd dy farnau

blegyd dy farnau di a eglurwyd.


lurwyd. Oblegyd dy farnau di a eg . . lurwyd, a eglurwyd.

Oblegyd dy farnau di a eglurwyd. a eglurwyd. O

di a eglurwyd. Oblegyd dy farnau di a eglurwyd.

Oblegyd &c.

## AT YR YMGEISWYR.

———*ooo*———

Foneddigion,

Arferiad cyffredin Beirniaid ydyw cyfeirio eu Beirniadaeth at y Pwyllgor; ond gan mai â chwi y mae â fynof, atoch chwi yr anfonaf. Anturiaf ddywedyd nad oes genych neb purach, ffyddlonach, ac yn dymuno eich llês yn fwy na'r un a fu yn beirniadu eich gwaith; ac y mae rhoddi clwyf i deimlad y cantor distadlaf yn orchwyl na ddymunwn fod yn euog o hono ar un cyfrif. Os digwyddodd i ryw ymadrodd diofal gael ei ddweyd am rai o honoch chwi, neu eich gwaith yn y Feirniadaeth na chymerwch ef yn angharedig, ond yn hytrach fel difyrwch, er gwneyd y Feirniadaeth yn fwy dyddorol. Yr wyf yn eithaf sicr fod cynllwynion cynfigenus wedi eu trefnu gan yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid yn fy erbyn; ond yr wyf yn llwyr hyderu na ddaeth fy awr i eto, ac nad hwynt-hwy a gânt fy mhen i'r llwch. "Pwy fyth a ymgymerai â'r gorchwyl o feirniadu, yn enwedig cyfansoddiadau cerddorol," fel y dywed yr "Amserau." Ni fu'm i wrth y gorchwyl ond unwaith o'r blaen, a braidd na phenderfynwn beidio ymyryd ag ef byth mwyach; gan hyny goddefwch "y waith hon yn unig" a chewch ddewis, bid sicr, y neb a fynoch at y swydd rhagllaw. Nid yw ein cantorion, hyd yn hyn, yn llawn digon gostyngedig i neb ddweyd dim am eu gweithiau anwyl hwy, ond ffalsder a chanmoliaeth, "byth a hefyd." Pe byddai iddynt gael y fraint, am unwaith, o fyned dan ysgrifell *George Gilfillan*, ***Edwin Monk***, ***Edward Holmes***, neu *critical Reporter* campus y ***Times***, byddai'n haws siarad a hwynt; byddent yn debyg i'r tylwyth grwgnachlyd hyny, wrth Sinai, yn barod i ddweyd, "Llefara di wrthym, ond na lefared y *Critical Reporter* wrthym, rhag i ni farw." Ni byddai dim yn well genyf na gweled y dosparth sydd yn gwaeddi am "chwareu teg" cyn i'r chwareu ddechreu, am un diwrnod yn y drafferth

y bu'm i ynddi er's tair wythnos, uwch ben 36 o gyfansoddiadau; pryder a gofal am wneyd "chwareu teg," wedi gwneyd cwsg a dyddanwch yn ddieithriaid i'm teimlad. Pa fath chwareu a gawsid ganddynt hwy yn y cyflwr hwnw, tybed? chwareu teg, yn ol barn a mympwy y rhai hyn, fyddai iddynt hwy gael y gwobrau, beth bynag fyddo mympwy eraill am deilyngdod eu cyfansoddiadau.

Ni chefais enw neb ond *Ap Menevensis*, a hwnw dan sêl; ac anfonais ef yn uniongyrchol i'r ysgrifenydd; ac felly nid oedd enw nac ysgrifen yr un o'r ymgeiswyr yn cynorthwyo dim arnaf i wybod pwy oeddynt. Ond na feddyliwch y gwadaf nad oeddwn yn ceisio dychymygu fy ngoreu pwy oedd pob un; ac ni raid i'r rhan fwyaf o gantorion Cymry byth anfon ataf eu henwau—gallaf eu hadnabod wrth eu gweithiau; y mae eu harddull yn eu cyhuddo. A phwy na all eu hadnabod, cystal a minau, os bydd wedi ymarfer ychydig a'u gweithiau? "Wel dyna ddigon o brawf ei fod wedi gwneyd ffafriaeth," meddai rhywun: yn araf fy nghyfaill, pe buasai fy mrawd yn ymgeisydd, a minau wedi rhoddi y wobr iddo, buan iawn y cyhuddasid fi o ffafriaeth; ond, os efe a fuasai y *goreu*, oni fuasau cyfiawnder ei hun, ac nid ffafriaeth yn fy rhwymo i benderfynu y wobr iddo? Nid a wnaeth y Beirniad ffafriaeth, ond pwy oedd y goreu yw y pwngc. Gan hyny, Foneddigion os bydd wch yn amheu ddarfod i chwi gael cam, cyhoeddwych eich gweithiau, a gadewch i'r *public opinion* benderfynu y ddadl. Y mae yn hawdd iawn i ddynion benderfynu a threfnu ar eu haelwydydd gartref, pa fodd y dylai pethau fod, fel yr *Astronomer* yn gwneyd ei *galculations* yn ei *observatory*; ond rhoddwch chwi fantais i'r byd i gael profi eich gweithiau; ac yna ceir gweled wrth eu casgliadau a'u penderfyniadau, a ydyw rhesymau a ffeithiau yn gyson a'u gilydd. Y cyffredin a ddatguddia y gwirionedd, ac nid y plantos a'n canmola, er mwyn cael *brechdan fêl* genym. Y mae y Beirniad wedi collfarnu y gwallau yn y modd cydsymudol *(similar motion)* yn ol y gramadegau cyffredin sydd yn eich meddiant, ac nid yn ol ei fympwy ei hun, er y creda fod ei fympwy yn gysonach â rheolau cerddoriaeth, ac ag "awdwyr enwog" nag y tybir yn gyffredin. Nid yn unig y mae llawer o awdwyr yn gwrthwynebu y 5au dilynol, mewn cyfansoddiad lleisiol, ond hefyd gwrthwynebant i offerynau eu harfer: *Vugler*, yn hyspysu

unwaith wrth *Godfrey Weber* na byddai arno ef ddim ofn rhoddi *Tenor Viol* i gydsymyd o fewn pumpau a'r *Bass* ar hyd dernyn llawn o leisiau—"Y mae ef yn berffaith yn ei le," meddai Weber, "tra na byddo ei *Viol* i'w chlywed."

Nid wyf wedi gwneyd sylwadau ar bob ban o'r cyfansoddiadau, buasai hyny yn ddigon o waith oes i un gwr; ac heblaw hyny y mae llawer o'r bànau heb fod ynddynt un bai neillduol na rhinwedd penodol; gan hyny ni theilyngant sylw arbenigol Nid oedd y gynghanedd yn fy ngholwg cofier, ond y wisg yn unig; gan hyny ystyriwn y dylasai pob un ei wisgo mor daclus ag yr oedd modd: os na allai y cyfansoddydd esgoi ambell symudiad a chord anmhriodol, nid yw i'w feio, oblegyd trosedd sydd i'w feio, ac nid trosedd yw y peth na allai ei hebgor. Gellir cynghaneddu yn dda, ac er hyny heb fod dim mwy o gerddoriaeth yn y gwaith, nag sydd yn *uclid.* Cyfansoddiad da yw y gamp y dylid ymdrechu ei henill; a rhaid i gyfansoddiad felly fod yn feddianol ar feddylddrychau newyddion, ac ar yr un pryd yn brydferth ac effeithiol, ac wedi ei gynghaneddu hyd y byddo modd, yn unol a rheolau cyfansoddiad pur a diledwiw. Dylai pob cyfansoddydd edrych a fydd rhyw beth newydd yn ei waith; ac hefyd, a fydd y newydd-beth hwnw yn brydferth ac effeithiol, onide gellir dweyd am dano, fel y Beirniad hwnw ar waith un awdwr ieuangc—Y mae llawer o bethau newydd a phrydferth yn eich gwaith, syr, ond och! nid yw y pethau newydd yn brydferth, na'r pethau prydferth yn newydd." Gofalwch am ddangos y geiriau bob amser; y mae barddoniaeth a cherddoriaeth fel dau aderyn yn meddu yr un bywyd; dadgysyllter yr hyn a anwyd yn gysylltiedig, a bydd y ddau farw. Yr oedd y bardd a'r cerddor yr un un yn yr oesoedd gynt. Yr hyn oedd yn angen ar y Gerddoriaeth mewn meddwl; gwneid hyny i fyny gan y Farddoniaeth; a'r hyn oedd yn annghyraeddadwy i'r Farddoniaeth, mewn teimlad, difyrwch, ac eglurdeb, a wneid i fynu gan y Gerddoriaeth. Gan hyny, diddymer y cyfansoddiadau mudion a di enaid hyny, nad ydynt yn traethu nac yn darlunio *dim.* Os cerddoriaeth yw iaith ein dirnadaeth a'n meddwl, nis gall y peth nad yw yn traethu nac yn darlunio *dim*, fod yn gerddoriaeth, Yr ydym wedi llwyr flino ar y darnau sydd yn trethu meddwl, er cadw cywreinrwydd difywyd yn barchus; yr ydym wedi diflasu ar y swn sydd yn byddaru ein clustiau

ac heb ddweyd dim byth wrth ein henaid. Cerddoriaeth a meddwl ynddi, a fedr ddarlunio amgylchiadau yn well na bod hebddi—i gerddoriaeth felly y rhoddwn ni y flaenoriaeth, bydded y canlyniadau y peth a fyddont. Gwell genyf ddyoddef adfyd a dirmyg wrth amddiffyn hono, na chael byd da yn helaethwych beunydd gyda'r rhywogaethau eraill. Ond bellach at y feirniadaeth, a dechreuwn gyda'r

## HYMN 536 TU. DAL. 77, o GASGL. S. R.

Derbyniwyd 12 o gyfansoddiadau yn ymgeisio am y wobr yma, a dosparthir hwynt fel y canlyn:—

### Yr ail ddosparth.

Glan'r afon—Tôn fechan sydd ganddo ef, ond cyfnewidia ychydig arni ar y penill olaf; ac fel rheswm dros hyny, dywed—" Y mae gwahaniaeth yn y penill, tebyg y dylai fod gwahaniaeth yn y dôn;" Go lew, "Glan'r afon," gwir fod gwahaniaeth, a gwahaniaeth mawr hefyd; ond beth a wneir i'r penill canol? pa'r un o'r ddwy dôn sydd i'w chanu ar hwnw? y gyntaf ai yr olaf? Ond pa'r un bynag, y mae gormod o wahaniaeth yn y penill i'w ganu yn briodol ar y naill na'r llall yn eu ffurf bresenol.

Y Fwyalchen—Tôn eto ar un penill, o'r enw "llusern;" ac nid llusern dywyll iawn ydyw ychwaith o'i maint; ond dylasai fod yn fwy ddwywaith, beth bynag, cyn bod yn dderbyniol. Dernyn hwy y tro nesaf, ac yna bydd gobaith i'r Fwyalchen enill.

Pererin llesg—Nid mor llesg; y mae yn rhedeg ac yn neidio yn heinyf iawn; ac wrth redeg, drylliodd rai o reolau amlycaf cynghanedd yn yfflon; ac oblegyd hyny ofnwyf fod cyfadsoddiad y "Pererin" yn rhy "lesg" i fyw yn hir.

Chwarelwr bach—Tôn ar un penill eto; ond y mae rhywbeth yn fwyn neillduol ynddi; gresyn na buasai yn hirach; ni chaiff y geiriau ddigon o chwareu teg ganddo, "canys byrach yw y gwely nag y gallant ymestyn ynddo, a chul yw y cwrlid iddynt ymdroi ynddo."

Mab ei Fam—Tôn "fyth a hefyd." Ysgrifenodd hwn atom

fel hyn—"Gan mai Tôn a enwir, ac nid dernyn, dewiswyd cadw at lythyren yr hyspysiad." Wel felly yr ydym ninau yn dewis cadw; a chan mai "am y dôn oreu ar yr *Hymn*," ac nid ar un *penill* o'r Hymn, "y cynygir" gwobr, nid ydys yn meddwl y cedwir "at lythyren yr hyspysiad," drwy roddi Tôn un penill "Mab ei Fam," yn mlaenaf. Deuawd (duett) naturiol ac ystwyth sydd ganddo ar y ddwy odl gyntaf; ac O! mor darawiadol yw o'r 16 ban, hyd y 20. *Chorus* rhwydd sydd ar yr odl olaf; ond anturir dweyd wrth "Mab ei Fam" y gellid cael tri phenill llawn mor briodol i'w Don a'r rhai a ysgrifenodd efe wrthi. Y mae y Dôn yn eithaf, ond nid ydyw ar yr *Hymn* a nodwyd.

## Y DOSPARTH CYNTAF.

Vulcan—Os oedd llusern y Pererin yn disgleirio ar y lli, lled dywyll yw cynghanedd Vulcan arno, yn y banau 11, 12, a 139. Y mae cyfansoddiad Vulcan ar yr ail benill, ond odid, cystal a chyfansoddiad yr un o'r ymgeiswyr arno; "ac aiff i'r wlad" yn gefnog iawn, ond fod y dull braidd yn rhy gyffredin.

Iod—Tybir fod "Iod" yn deall cynghanedd a thrawsgyweiriant yn dda; ac y mae y cyfansoddiad yn un godidog iawn, fel cyfansoddiad; ond gallai wneyd yn llawn cystal ar ryw eiriau eraill ag ar y rhai hyn. Er nad yw "Iod" yn meddu ar symledd *Luther*, prin y mae yn ol iddo, mewn mawredd a phwysigrwydd.

Teithiwr Blin—Hawdd credu hwn, y mae ei waith yn dangos ei fod wedi blino. Amlwg ydyw y gallasai y "Teithiwr" wneyd amgenach cyfansoddiad o lawer, oni bai ei fod yn flin. Gwnaeth dri o *Solos* mwynion iawn ar y ddwy odl gyntaf o'r penillion, gan newid ychydig arnynt fel yr oedd y geiriau yn galw; ond yr un yw y Chorus sydd ganddo ar odlau olaf pob un. Ai tybed nad oedd cymaint o angen cyfnewidiad yn y Chorus, ag oedd yn y *Solos*? Wedi y cwbl, y mae tlysni annghydmarol i'w weled drwy y gwaith. Gofaled y "Teithiwr" rhag myned i gyfansoddi pan y byddo yn flin arno eto.

Semiramoth—Eisteddai "Teithiwr blin" "Semiramoth" yn gomfforddus iawn "ar lan yr afon ddu." Y mae yn anhawdd cael dernyn mwynach a dymunolach, nag sydd gan "Semiramoth" ar yr ail benill; ac ymlona yn neillduol yn yr odl

olaf o hono. Gwelwyd gwell darn darn nag sydd ar y penill olaf. Ystwythder a bywiogrwydd ydyw y llinellau amlycaf yn nodwedd y cyfansoddiad hwn.

Cuhelyn—Diffyg penaf sydd yn ymddangos yn ngwaith "Cuhelyn" ydyw ei fod yn rhy undonog; a'i ragoriaeth yw ei symledd. Disgyna at y dwfr yn effeithiol iawn; a bron nad ydys yn gweled y lli yn pistyllio yma a thraw, gan fel y mae yr Archoffeiriad yn ei ddosparthu wrth dori ei rym. Y mae y darnau yna yn anrhydedd mawr i "Cuhelyn," ac yn ddarluniadol i'r eithaf.

Aderyn—Darlunir y "Teithiwr blin" yn eistedd "ar lan yr afon," yn alarus iawn ganddo; llonai ei deimlad yn rhyfeddol wrth weled ei lusern yn arianu y lli, tra y teifl ei lewyrch dros yr afon i'r ochr arall, ac yntau yn ei goleu yn gweled y lan, a myrdd o engyl yn ei ddisgwyl. Trist iawn yr ymdeimla "Wrth ddisgyn at y dwfr;" ond wrth weled ei lamp yn dal heb ddiffoddi,| dengys ei lawenydd drwy newid ei gywair ac heb newid ei gyweirnôd—aiff o B leddf i B lon. Hyf a sydyn ydyw rhywbeth felly hefyd; ond i'm tyb i, gesyd hynodrwydd yr amgylchiad yn well drwy hyny nag un ffordd arall; a chana yn y cyweirnod hwnw a'i berthynasau llon, i'r diwedd. Anaml y ceir dernyn mor anwyl, mor hawdd, ac mor llawn o deimlad ag ydyw, a'i gymeryd drwyddo.

Asaph—Prif fai "Asaph" ydyw diofalwch wrth gynghaneddu; fel cyfansoddiad y mae yr eiddo ef yn fwy gwreiddiol a hynod na'r un o'r ymgeiswyr, oddigerth ychydig yn y dechreu. Disgleiria ei lusern yn nodedig o lewyrchus; a rhydd efelychiad tlws iawn yn yr wythawd, pan y gwel ei goleu yn dwyn y lan i'r golwg. Disgyna dros ei ben i'r dwfr wrth ddisgyn "hyd risiau brenin braw," er hyny, ni ddiffoddodd ei lamp; ond rhodia yn ei lewyrch i'r ochr arall yn berffaith ddiangol. Naturiol iawn yw y darluniad o deimlad bywiog y "Teithiwr blin," pan welodd ei Archoffeiriad yn dyfod i'w gyfarfod. Wedi hyny, cychwyna i wlad y goleuni, heb gymaint a gorphwys mynyd i gymeryd ei wynt, ar ol dyfod drwy y tonau; ac nid oes neb yn gosod allan ei fynediad yn fwy enwog, gwreiddiol, a nefol, nag "Asaph." Tybiwyf nad oes yr un o'r Ymgeiswyr, yn ol fy marn i felly, wedi egluro y geiriau, na darlunio yr olygfa yn ddigon medrus o lawer. Darluniadol iawn yw y farddoniaeth; a dylid cael cyfansoddiad felly arni, tebyg i'r hyn o eilw y Saeson yn "*Descreptive piece.*" Pe

buasai cynghanedd a phwysigrwydd "Jod," tlysni "Teithiwr Blin," bywiogrwydd "Semiramoth," symledd "Cuhelyn," teimlad "Aderyn," a gwreiddioldeb "Asaph," yn meddiant rhyw awdwr galluog a chyfarwydd ar ddarlunio, cawsid cyfansoddiad ardderchog; ond tra y maent ar wahan, y mae y cyfansoddiad yn wan. Nid oes ond ychydig iawn o wahaniaeth rhwng pawb o'r dosparth hwn a'u gilydd. Y mae'r naill yn rhagori ar y llall yn y naill beth a'r llall, a phob un yn awyddus i gyrhaedd y marc, ond yn rhy lwfr i saethu ato—"*willing to wound, and yet afraid to strike.*" Ond o'r cwbl, rhwng yr "Aderyn" ac "Asaph" y mae y dorch i'w thynu; os am gyfansoddiad a thelmlad ynddo a'r gynghanedd yn eithaf o ran hyny, "Aderyn" a ddylai fod yn mlaenaf; ond os cyfansoddiad gwreiddiol, hynod, ac annghyffredin a fynir, "Asaph" sydd yn blaenori. Nid yw beiau cynghanedd Asaph ond dibwys, er fod rhywbeth arni yn ei hatal i asio cystal ag y dymunid. Felly nid oes genyf ar ol ymdrafferthu llawer i geisio troi y fantol ryw ffordd, ond gadael rhwng y pwyllgor ar ddau; ac os metha hwnw a phenderfynu, rhodder y wobr i'r naill, a'r tlws i'r llall.

O. Y. Penderfynodd y pwyllgor i roddi y wobr i un a'r tlws i'r llall; dewiswyd y tlws gan "Aderyn," a chafodd "Asaph" y wobr.

# YR AIL DESTYN.

---

## "CAN MOSES A CHAN YR OEN."

Datguddiad 15. 3, 4.

DERBYNIWYD 13 o gyfansoddiadau ar y testyn hwn, ac ar ol eu nithio cafwyd yn

### YR AIL DDOSPARTH.

Di-bryder—Ymddengys ei fod yn "ddi-bryder" hollol yn nghylch enill, beth bynag; oblegyd ceir ar y mwyaf o arwyddion diofalwch drwy ei Anthem. Yn sicr dylai fod yn fwy pryderus rhagllaw, os yw am fod yn hynod fel cyfansoddwr.

Digymar—Nid am gyfansoddi yn wir; mae wedi colli golwg ar arddull (style) sydd yn gweddu i'r geiriau yn gwbl. Cyfansoddiad Dirwestol, braidd, ydyw, pe ceid geiriau felly arno; ac y mae gwahaniaeth mawr rhwng natur "y naill a'r llall" o honynt.

Prometheus—Rhagfeddwl, ydyw ystyr yr enw Groegaidd yma onid ê? mae rhy fach o ddelw hyny ar waith presenol yr Awdwr o gryn lawer; ond gallai mai rhag-feddwl erbyn rhyw bryd eto y mae; os felly, cawn ninau amser i feddwl beth i'w ddweyd am dano y pryd hwnw.

Apollo—Y mae yn berygl i mi dynu y duw yma yn fy mhen, beth bynag am y lleill, heblaw ei fod yn *ganwr* rhagorol, yr oedd yn *saethwr â bwa* heb ei ail. Y mae wedi dyrysu cryn lawer wrth ysgrifenu ei waith; weithiau, y mae yr *Alto* yn uwch na'r lleisiau eraill, pryd arall, oddi tanynt; yr hyn a brawf nad yw y *duwiau* yn anffaeledig; ond gan iddo gyfaddef ei ddiofalwch, dylid maddeu iddo. Ofnir fod yr "Apollo" hwn yn well am drin bwa, nag am drin y gân; ond os cymerir ei waith drwyddo draw, ceir llawer o ragoriaethau ynddo yn wir deilwng o'u hefelychu.

Mediterranean—Lled ganolig yw y *slur* sydd ganddo yn cychwyn; ac yn wir, nid oes na mawredd na rhyfeddod yn y

"Chorus grymus" ar ol hyny. Dernyn da a geir ar "Cyfiawn a chywir yw dy ffyrdd." Yn wyllt, braidd, y gogoneddir ei enw; ac onid yw yr "holl genhedloedd" yn dyfod ger ei fron i'w addoli, yn rhy ddideimlad o lawer. Pe buasai "oblegyd dy farnau" heb fod yn diweddu mor afrosgo a chlogyrnaidd, buasai yn llawer mwy cymeradwy.

Perorydd Cymreig—Gwall mwyaf cyfansoddiad "Perorydd" yw, fod yr efelychiad sydd yn dechreu y 14 ban o'r *Air*, heb fod yn berthynas naturiol a'r *Bass* sydd yn atebiad iddi; ac nid yw y sylfon, na'r atebiad, yn perthyn dim mwy i gyweirnod yr Anthem, nag i ryw gyweirnod arall o'r raddfa. Y mae eu mynediad gyda'u gilydd yn y dull yna, yn galw am ♯s a ♭s damweiniol yn fynych, er eu huno yn well a'u gilydd. Dernyn da iawn ydyw, o'r 39 ban, hyd y 54—nid cystal wedi hyny; fe allai y dylasai *style* "Perorydd" fod yn fwy mawreddus gyd a geiriau fel hyn.

DOSPARTH CYNTAF.

Bronfraith—Cyfansoddwr cryf, dirodres, a gwreiddiol yw "Bronfraith." Nid oes eisiau gwell dernyn nag a geir o'r 33 ban, hyd y 54. Y mae y gwaith drwyddo yn dda, ond dyna y llecyn goreu.

Llinosun—Ymddengys hwn fel gwaith awdwr ieuanc; ac os felly, y mae gobaith da iawn am dano; yn amgen, nid yw fawr o werth. Rhy fach o wreiddioldeb, a gormod o undôniad sydd yn ei waith; a phe buasai yn bwysicach ei arddull hefyd, dichon y buasai yn fwy cymeradwy.

Addolwr—Gallwn feddwl mai defnyddioldeb oedd y prif nod mewn golwg, gan "Addolwr," wrth gyfansoddi y dernyn hwn; oblegid y mae yn hawdd, llyfn, a buddiol iawn drwyddo, ac yn sicr o gynyrchu teimlad addoli yn mynwes y cantorion; a phob un a wrendy arnynt; a dylai hynyna fod yn fwy gwerthfawr yn ngolwg pob cyfansoddydd, na rhyw gywreinrwydd heb ddim ynddo, ond "newyn a syched."

Twm o'r Bont—Wel, Twm bach, nid ychydig a fu dy drafferth yn cyfansoddi y dernyn hwn; ond faint bynag, yr oedd yn ormod o lawer am ddim; ond beth a wneir? y mae yma rai

gwell na thi er cystal dy waith. A feddylit ti ddim, dy fod tua'r diwedd, wedi myned i lamu dros y cyweirnodau, heb na phont na phont-bren? Grymus iawn yw y Chorus cyntaf, ac anwyl iawn yw "Pwy ni'th ofna." Efelychiad bywiog a difyr yw y Chorus ar "Oblegid yr holl genhedloedd;" ond y mae rhyw debygolrwydd ynddo i'r Chorus—"*But thanks be to God.*" Rhyfedd, ac anhawdd iawn yw y Chorus ar "Oblegid dy farnau," ac y mae yn ddigon a gwneyd i gantorion anfedrus a diamynedd ei daflu dros y bont, a meddwl nad oes gwerth yn y byd ynddo; ond wedi ei ddysgu newidient eu barn am dano.

Aesculapius—Yr hen Ddoctor wedi troi yn Gerddor onidê? Tybir fod hwn yn myfyrio llawer ar waith Spohr, ac yn ymdrechu rhodio yn ol ei draed; na rodded hi i fynu, nes ei gyfnewid i'r unrhyw ddelw a'r awdwr enwog hwnw. Y mae y gwaith yn rhy dda drwyddo i ddechreu ei ddetholi; er nad oes genyf yr un rheswm dros ei fod yn newid ei gywair a'i gyweirnod mor aml, eto yr wyf yn teimlo ei ddylanwad, ac yn rhwym o gydnabod ei waith; a phe rhoddid *Accompaniment* yr *Organ* gyd ag ef, teimla hyd yn oed y *Cathedral* ei hun, oddiwrth nerth ac awdurdod "Aesculapius."

Cantor—Sydd yn *gantor*, yn ol ystyr eithaf y gair. Deuawd tlws a naturiol sydd yn cychwyn, a Chorus cryf ar "Mawr a rhyfedd." Y mae yn dda, ond nid yn llawn ddigon rhyfedd a mawreddus, i'm tyb i, ar y geiriau; ond byddai dweyd beth sydd yn ddiffygiol ynddo yn ormod gorchwyl. Teimlad o ofn a ddesgrifir yn wych yn y dernyn ar ei ol; ac y mae yr efelychiadau prydferth ar "Ac ni ogonedda dy enw" yn ddigon a swyno un-gwr i'w ogoneddu. Cawn efelychiadau mynych, oddiyno i'r diwedd, a phob un megis yn rhagori ar eu gilydd. Pe gofynid i ni beth sydd o'i le, nid allwn ateb, heblaw nad yw cystal a'r nesaf. Y mae pob un o'r pedwar blaenorol, wedi enill y wobr yn ddwbl, o ran hyuy; ond o pa le y ceir hi iddynt?

Orpheus—Duw'r gân, ac ni welais i erioed gymaint o dduwiau, yn enw yr anwyl, meddaf; a gŵyr pawb mai nid gorchwyl bychan ydyw barnu gweithredoedd ysbrydion o'r fath yma. Dechreua "Orpheus" gyda'r geiriau "A chanu y maent &c." mewn Deuawd, ac y mae tlysni drwyddo, er nad yw y gynghanedd, fe allai yn llawn ddigon cref. Y mae pob symudiad o'r Chorus "Mawr a rhyfedd," yn fawreddus a rhyfedd, a pho

tarawiad yn dangos fod yr Awdwr wedi bod yn sefyll, ac yn ystyried rhyfeddodau Duw. Ceir wedi hyny *Quartett* yn hyspysu mai "Cyfiawn a chywir yw" ffyrdd "Brenin y saint;" ac ymddengys wrth deimlad y cyfansoddydd fod ei "ffyrdd yn y môr a'i lwybrau yn y dyfroedd dyfnion" tuag ato; ac yntau, druan, yn methu adnabod eu hol; ond tystia, yn y tywyllwch, mai cyfiawn ydynt; wyla wrth wneyd mae'n wir, ond dagrau llawenydd ydynt; nid teimlad o ofid, ond ocheneidiau ffydd, yn ymddiried yn yr "hwn sydd yn rhoddi achosion i ganu y nos." Y mae yn annichonadwy i ni ganu y Chorus "Pwy ni'th ofna," heb gael ein llenwi "a gwylder ac â pharchedig ofn;" a thybir nad yw "diferiad y diliau mêl" yn felusach na'r efelychiadau byrion geir ar "Ac ni ogonedda dy enw." Gesyd ei resymau cryfion dros ei ofni a gogoneddu ei enw allan yn wrol a diofn, mewn efelychiad rhwydd a hawdd iawn ei chofio; a dyna y gamp gyd ag efelychiad ac ehediant. Fe allai y dylasai Orpheus gynyrchu dernyn gwahanol ar yr adranau, "oblegyd tydi yn unig wyt sanctaidd," —"oblegyd yr holl genhedloedd," ac "oblegyd dy farnau di a eglurwyd," yn lle yr un *theme* arnynt oll. Ond y mae mor naturiol, ac yn cael ei threfnu yn wahanol bob tro, fel nad ydys mewn perygl o ddiflasu arni; ac fe allai fod Orpheus wedi dysgu, oddiwrth Handel, fel y dywed *Beethoom*—"*to produce so great effects with so few means.*"

Y mae y Dosparth cyntaf i gyd yn gynyrchion campus iawn, ond Orpheus i'm tyb i yw y goreu; gan hyny rhodder y wobr iddo.

## Y TRYDYDD TESTYN.

---

Esay 42. 8, 10, 11, 12.

DERBYNIWYD 11 o gyfansoddiadau ar y geiriau hyn, y rhai a ddosparthir fel y canlyn:—

### YR AIL DDOSPRTH.

Can Barac—Nid oes enw ffugiol na gwirioneddol wrth hon, heblaw fod yr Awdwr yn enwi ei gân yn "Gan Barac." Onid yn llyfr y Barnwyr y mae cân hwnw, ac nid yn mhrophwydoliaethau Esay? Nid wn beth i'w ddweyd am hon, nis gellir ei chanmol yn onest; ac os beier hi, drachefn, dichon y byddai hyny yn foddion i dynu melldithion ei hawdur ar fy mhen; felly gadael iddi yn y fan yna yw y goreu, heb ddweyd rhagor am dani hi.

Awel— Dechreuad lled gyffredin onidê? Efelychiad go lew sydd o'r bân 49, hyd 59; ac yn wir y mae "preswylwyr y graig" yn canu yn bur dda o'r bân 71, yn mlaen. Gellir meddwl wrth ganu o'r 91 ban yn mlaen fod yr "awel" wedi chwythu yr Awdwr o'i *channel* ei hun, braidd; nid yw yn llawn ddigon gwreiddiol. Ychydig mwy o'r awel a wna y cyfansoddwr yma yn un gobeithiol.

Cristion—Ymddengys na welodd "Cristion" un golwg ar yr ail hyspysiad, yn nghylch geiriau yr Anthem yma; oblegyd cyfansoddodd a'r 11 adnod yn gwbl, a chollodd ei wynt, wrth floeddio "o ben y mynyddoedd" fel nad oedd ynddo nerth mwyach i roddi "gogoniant i'r Arglwydd." Efelychiad tlws sydd yn cychwyn o'r 24 ban, ond fod y lleisiauyn rhy wasgarog o lawer, iddi gael dylanwad mawr ar y gwrandawyr; rhodded yr awdwr hi yn y *vice* am ychydig, i'w gwasgu yn fwy at ei gilydd, a bydd yn llawer mwy cryno a chadarn ar ol hyny.

Ap Menevensis—Dyma enw cyhyd a milltir wyddelig; *Mab Mynwy*, ydyw ei ystyr, "onid e fe." Y mae hwn eto fel "Cristion," heb gyfansoddi yn ol yr hyspysiad diweddaf; eto, gwelodd fwy na'r llall, oblegyd cyfansoddodd ar "Rhoddant ogoniant i'r Arglwydd" a cheir Haleluiah lled ddiofal, *yn fending* ar hyny. Dernyn gwreiddiol, ar y cyfan, ydyw hwn; anystwyth braidd, yw y *Chorus* sydd ar ol y *Solo*, a chyffredin iawn yw y Deuawd sydd o'r 20 ban, yn mlaen. Ychydig o ofal ac ymarferiad a wna yr "Ap" hwn yn gyfansoddwr da.

Orpheus—Ceir *Quartett* bywiog a difyr gan hwn i gychwyn; yna *Solo o'r Recit*, ni waeth ganddo pa'r un, ac ni waeth i ninau am a wn i. Yn y Chorus y mae y *Tenor* yn gwatwar y *Treble* yn ddigon naturiol; gresyn na fuasai Orpheus yn gweithio yr efelychiad allan, yn y lleisiau eraill, yr un modd; buasai yn debycach i lenwi ei enw. Y mae y tarawiadau sy ganddo ar "A mynegwch ei fawl," yn wir soniarus, ac yn ddigon â swyno coed a cheryg, fel yr Orpheus gynt. Dos di yn mlaen Orpheus, gallai y cyfansoddi rywbryd mor swynol ag yntau.

Abou Menzel—Yn enw pob daioni, pwy, a pha beth ydyw hwn? Y mae aderyn ar lanau y Nile, o'r un enw; ond beth a ddygodd y creadur rhyfedd i'r wlad yma, tybed? Canwr fel y gog ydyw, yr un swn, â yn yr un cyweirnod yn barhaus. Mewn darnau cyhyd a hyn, dylid trawsgyweirio i rywle o'r cyweirnod dechreuol, yn amgen, diflasir ar yr un un, fel ar yr un ymborth; a byddai yn iechyd ac yn fantais i'r aderyn, druan, newid ei gangen, a'i gân, weithiau.

## Y DOSPARTH CYNTAF.

Dyma bump o gyfansoddiadau, a phob un o honynt yn fwy ei werth na'r wobr o lawer; ond gan nad oes ond un wobr, rhaid ceisio edrych, pa rai o'r sêr sydd yn rhagori mewn gogoniant.

Tubal—Y mae hwn gystal gweithydd mewn cyfansoddiad syml, ag ydyw mewn "pob cywreinwaith pres a haiarn." Er fod ychydig o wallau i'w gweled yma a thraw yn ei waith; ond ymddangosant fel ffrwyth diofalwch, yn hytrach nag anwybodaeth.

Obedemon—Diolch i chwi, Syr, am rifnodi eich cynghanedd; byddai hyny yn fantais fawr i mi ddeall natur eu symudiadau; a thybir mai nid dyma y tro cyntaf i "Obedemon" fod dan ein sylw, a derbyn ein cymeradwyaeth, yn neillduol fel cynganeddwr. A feddyliech chwi ddim eich bod wedi syrthio i ormod cariad â'r annghydseiniau, a bod cymaint o honynt yn debyg o atal dylanwad y cyfansoddiad, a'i wneyd yn rhy debyg i *lifeless statue*? Er nad oes rheol yn nodi pa faint i'w arfer arnynt, eto y mae beichio y cyfansoddiad â hwynt, yn groes i chwaeth ac arddull goethedig. Y mae yn llawn cystal genyf fi, yr annghydseiniau, ag ydyw genyf y cydseiniau, ond iddynt gael eu parotoi, a'u hadferu, yn effeithiol; y naill yn disgyn yn naturiol i'r llall; fel olwynion *cocos*. Yr wyf yn mawr gymeradwyo y sylfonau sy genych; ac y mae mwy o arddull hen Anthemau Eglwysig, yn y cyfansoddiad yma, nag yn yr un o'r lleill, a dylai gael parch dau ddyblyg oblegyd hyny.

Un a'i gerdd yn wan i gyd—Nage i gyd, Syr, os nad yw eich gwaith yn ail adrodd y Chorus cyntaf yn rhy fynych, yn debyg o'i gwanychu. Pwy erioed a ddychymygodd well, a thlysach efelychiad nag sydd ar "Caned preswylwyr y graig? ac ar ol y fath floeddio cryf o "ben y mynyddoedd," a molianu mor wych "yn yr ynysoedd," dylech gael eistedd bellach "yn drydydd yn y feirniadaeth;" ond beth fyddoch gwell er hyny, druan! nid oes dim i'w gael.

Eos y Goedwig—Pe buasai ychydig mwy o wreiddioldeb yn y dernyn cyntaf o waith yr "Eos," cyfrifaswn ef y cyfansoddwr syml goreu o'n cenedl. Y mae "preswylwyr y graig" yn canu yn naturiol a mwyn iawn, a bloeddir o ben y mynyddoedd yn nodedig o ddewr; ceir un floedd yn 4 ban, o hyd, yn debyg i floedd udgorn Sinai—"yn hir-llaes ac yn cryfhau fwy-fwy." Campus yn wir, yw yr ehediant a ddechreua yn y 18 ban; tybed nad yw sylfon dda fel hona yn teilyngu mwy o le? ac na ddylasid rhoddi mwy o *scope* iddi? gallesid ei gwneyd yn Uniant wedi hyny; yr un sylw a berthyna i'r ehediant ar ei hol: un dda iawn ydyw hono, ond nid yw ei chynghaneddiad yn gystal a'r llall. Wedi pwyso a phrofi y cyfansoddiad hwn eto, yr ydym yn rhwym o roi yr Eos, fel Joseph gynt, i "farchogaeth yn yr ail gerbyd."

Alawydd—Cychwyna "Alawydd" yn berffaith ddirodres,

yn debyg fel y bydd y chwareuwyr ar y gerddfa (*orchestra*) yn trin ac yn cyweirio tánau eu hofferynau; ac wedi cael pob tant i gywair priodol, "dyma hi allan." Cymer Alawydd, yntau, ryw 5 ban, at y gorchwyl o barotoi ei hun, ei waith, a'i gantorion, yna gorchymyna y lleisiau, y naill a'r llall, yn awdurdodol, eto yn naturiol, am ganu i'r Arglwydd. Gwasgerir ei fawl ef o'r naill eithafnod i'r llall o'r ddaear, yn ddeheuig iawn drwy efelychiad naturiol a hawdd. Ar y geiriau "Myfi yw yr Arglwydd" ceir *Solo Bass*, a thybir y gallai *Basser* da, wrth ei ganu, daflu gwarth tragwyddol ar "holl ddelwau cerfiedig," os dyrchafa enw yr Arglwydd mor fawreddus ag y rhoddwyd mantais iddo, gan yr Awdwr. Dylid canu y dernyn yna yn fawreddus ac ymffrostgar iawn. Ar ol y *Solo* ceir Chorus bychan, yn gorchymyn i "breswylwyr y graig" ganu; ond nid yw yr Awdwr hanner mor selog yn eu gorchymyn i ganu, ag ydyw yn eu gorchymyn i floeddio o ben y mynyddoedd; gallai ei fod yn fwy hoff o floeddio na chanu; nis gellir rhoddi darluniad o'r dernyn campus yma, heblaw ei fod yn *Double Chorus*: yr ail *choir* yn efelychu y cyntaf yn gywrain iawn, yn neilltuol drwy fod *Bass* yr ail, yn ateb *Air* y cyntaf, yn ol efelychiad rheolaidd, yn y pumed islaw; pob *choir* yn bloeddio am y goreu, nes o'r diwedd i'r ddau ymuno â'u gilydd, yn ol cynllun Handel yn y Chorus diweddaf o *Israel in Egypt*. Ar ol hyny, bloeddiant o ben y mynyddoedd, nes y clywid y gydgerdd bereiddiaf yn dylifo ar hyd eu hochrau, fel y tybid fod cwmwl cynghanedd a mawl wedi tori ar eu copau. Wedi hyny, trefnir y cantorion sydd ar ben y mynyddoedd, yn y sefyllfa fwyaf manteisiol i roddi "gogoniant i'r Arglwydd," &c.: a threfnir hwynt yn debyg fel y gosodir yr hyspysai (*telegraph*) ar ben y mynyddoedd, y naill yn derbyn newydd gan y llall, nes o'r diwedd ei fynegu yn y lle priodol. Felly, gesyd yr Awdwr yma y gwahanol leisiau yn nhrefniad ei ehediant gampus; y naill yn rhoddi i'r llall, a'r naill yn derbyn gan y llall; ac ar ol i bob llais gael eu trefnu felly, cyd-gordiant "ogoniant i'r Arglwydd:" cyn terfynu dygir yr ehediant ddiweddaf yma i mewn drachefn, gan ei gwneyd yn uniant (*stretto*) rymus a rheolaidd, a phob un o'r lleisiau fel yn ymhyfrydu fwyfwy yn eu gwaith o roddi "gogoniant i'r Arglwydd &c." Y mae rhywbeth mewn rhai o symudiadau yr ehediant yn dwyn i'n meddwl symudiadau tebyg gan Cherubini

mewn *Tonal Fugue*, ond tybir eu bod mor wreiddiol i "Alawydd," ag iddo yntau o ran hyny; fel y sylwa E. Holmes, "*These cannot be a more difficult, or a more thankless task, than the endeavour to discover the original author of a subject of fugue or cannon; even Handel, justly revered as he is, has sustained many charges of plagiarism, for which his truacious memory is, perhaps, rather to be blamed than any mean propensity to dress himself in borrowed plumes. He wrote so much which was confessedly his own, as to be able, to do what would not have been permitted to smaller men—as for instance, his transfering an entire chorus of Carissimi, "Hear Jacob's God," into his oration, Samson where it is known under these words.* Mewn lle arall ysgrifena—"*In recurring to the works of the greatest contrapuntal musicians, nothing strikes more forcibly than the frequent repetition of same things.*" Fe allai y gall yr anffaeledigion sydd yn condemnio cymaint ar gyfansoddwyr ieuanc yr oes hon, ag ar yr un pryd yn honi y fath wreiddioldeb iddynt eu hunain, ein hyspysu pwy ydyw awdwr gwreiddiol y sylfon hono, ag y gweithiodd *Handel* ei Chorus, "*And with his stripes we are healed*" o'r Mesiah; a *Haydn*, ei chorus "*Awake the harp*" o'r *Creation*; ac hefyd —*Mozart* ei *Fugue* "*Shew thy mercy*" o'i *Requium*, arni? Y mae pob un o honynt yn newid yn eu dull yn ei thrin; ond yr un un yw y sylfon sy ganddynt, serch hyny. Felly, y mae Alawydd yntau mor wreiddiol yn hyny, ag ydyw yr un o honynt hwythau. Y mae ei gyfansoddiad yn cynwys cerddoriaeth i bob math o ddynion, ond dim ar gyfer y tylwyth a'r clustiau hirion, fel y dywed Mozart—"*It contains music for all sorts of people, but nothing for long ears.*" Gan hyny, gwobrwyer ALAWYDD.

DWYGYFYLCHI. E. STEPHEN.

---

BALA, ARGRAFFWYD, GAN G. JONES.

# CANIADAU GLYNDWR:

SEF

# PRYDDESTAU BUDDUGOL,

A

## CHYFANSODDIADAU ERAILL.

---

GAN

OWEN G. WILLIAMS, LLANDEGAI,
(OWAIN GLYNDWR.)

BETHESDA:
ARGRAFFWYD DROS YR AWDWR GAN R. JONES.
1857.

# RHAGYMADRODD.

GYDWLADWYR CAREDIG,—

Gallaf finau ddweud gyda y lluaws mai ar anogaeth llawer o honoch yr anturiais anfon hyn o Farddoniaeth i'ch sylw.

Afreidiol yw i mi ddweud dim am eu teilyngdod gan eu bod braidd·oll wedi bod mewn gwahanol gystadleuon ynghorph y flwyddyn ddiweddaf, ac wedi dal eu tir yn ngwyneb eu beirniaid.

Eto dymunir arnoch beidio bod yn greulon wrthynt, ond cofio mai ffrwyth meddwl *gweithiwr ieuangc* ydynt, ac wedi eu cyfansoddi wrth lewyrch y ganwyll.

Gobeithiaf y cyferfydd hyn o lyfr a'ch cefnogaeth, a hyderaf y gallaf mewn amser dyfodol (os gwel Duw yn oreu) gyflwyno gwell llyfr i'ch sylw, canys "Arfer a'i hadfer hi."

Ydwyf,

Yr Eiddoch yn rhwymau cariad,

OWAIN GLYNDWR.

Hendurnpike, Llandegai,
Mawrth, 1857.

# PRYDDESTAU, &c.

## Pryddest

## AR LANAU OGWEN.

Y Fuddugol yn Eisteddfod Bethesda, 1856.

Ymffrostied yr Hindw o'i Ganges ddolenog,
  A'i ffrwythlawn ddyffrynoedd yn Hindostan fawr;
A'r Aipht-ddyn o'i Nilus a'i gyrfa fawreddog,
  A'i glanau dymunol, ysblenydd eu gwawr;
Y Sais a falchia o'i Dafwys hyfrydlon,
  A'r ceinwych wrthrychau o ddeutu ei lli,
Ond o holl afonydd y byd a'u rhagorion,
  Yr Ogwen a'i glanau addurnol i mi.

O'r gronfa ddiysbydd o ddyfroedd grisialaidd.
  Cychwyni di allan a'th olwg yn ferth,
Yn araf ymlithrai dy ddyfroedd tryloywaidd,
  Ac yna ffrom ddisgyn dros greigiau ban serth;
O ddeutu dy lanau mae ceinion hynodol.
  O'r llanerch y llithri dros ystlys y graig,
I waered nes cyraedd y dlos Fenai swynol,
  Lle cyffwrdd dy ddyfroedd a thonau yr aig.

Mil myrdd o wrthrychau addurnant dy lanau,—
  Y gain bont y Benglog yn mesur dy li,
Ac Idwal yn arllwys i waered ei ffrydiau,
  I'th fynwes fel menyw serchiadol daw hi;
Y Benglog, y Glydar, a'r banawg Garneddau,
  Y Tryfan, y Fronllwyd, a'r swynol deg Nant,
Ceidwadwyr dy wely yw'r oesawl fynyddau;
  O esgyrn dy fryniau daw bara i'th blant.

Mae'r olwg fawreddog sydd ar dy lechweddau,
Yn taflu fy meddwl yn ol am ganrifau,[1]
Pryd gwelwyd yr ardal dan orchudd o alar,
A'i gwyr yn wywedig gan loesau digymar;
Un diwrnod pan ydoedd y nwyfre yn dawel,
Heb gwmwl pruddglwyfus o orwel i orwel,
A'r haul a'i belydrau tanbeidiol yn gwenu,
Heb gymaint ac arwydd fod stórm yn dynesu;
Ond och! gyfnewidiad disymwth yn rhuthro,
Y gwyntoedd yn trochi, y nefoedd yn duo,
Cadduglyd gymylau yn cyflym ymgasglu,
A'r fellten yn peri i'r daran dadyrddu,
Y llethrau a rudda y gwib-fellt herfeiddiawl,
A chryna y cedyrn golofnau tragwyddawl,
Dyfr-ddorau y nefoedd yn llydain agorwyd,
A diluw o ddyfroedd i lawr a ollyngwyd,
Gan ruthro i waered ar hyd y serth lethrau,
A d'wedent "meddianwn y creig agoriadau;"
Y llethrau ysgythrog gan faint y rhyferthwy,
Nis gallant ymgynal i'r dymestl ofnadwy,
Rhoi ffordd i'r llifeiriant ysgythrin a wnaethant,
A diwyd breswylwyr un bwthyn gladdasant,
Heb un yno'n aros i adrodd y newydd
Am fawr fuddugoliaeth yr olaf ysbeilydd.

Tlos Nant yr Afancwn, a'i llenyrch hyfrydol,
Yn awr a ganfyddaf a'i golwg yn swynol;
Doldiroedd meillionog, ac uthrawl glogwyni,
A'r heirdd ddiadelloedd sydd arnynt yn pori;
Y fuwch ar y dyffryn yn cil-gnoi yn dawel,
A'r ddafad yn dringo i'r llethrau goruchel,
A'r gwrol fugeil-ddyn yn esgyn i fynu
Ar hyd y serth gribau gan beraidd anthemu
Ei odlig foreol oddiar y llechweddau,
A'i dreiddlais soniarus a etyb y creigiau,
Dychmygaf ei glywed o'r llethrau ysgythrog,
Yn eilio ei ganiad yn fwyn a godidog,
Fel hyn y dyferai y geiriau melusion
O enau'r bugeilddyn oedd lawen ei galon;—

Os hoffa mawrion byd
  Y gwledydd breision,
A'u gwychder mawr yn nghyd,
  I foddio'u calon,

[1] Gwel yr "Observations on the Snowdon Mountains," tu dalen 116.

Mil hoffach gan inau yw llethrau Eryri,
A'r ardal orfreintiog lle cefais fy ngeni.

Os yw'r winwydden dlos
Yn tyfu yno,
A'r ëos yn y nos
Yn peraidd byncio;
Caf finau ber ffrwythau ar "Lanau yr Ogwen,"
A chathlau y fwyalch a'r fronfraith yn llawen.

Un arall rydd ei serch
At ddringo'r Alpau,
Ar hyd blin lwybrau erch
I fro'r cymylau,
Caf finau ymddringo i'r banawg Garneddau,
Ac edrych o'm hamgylch ar hen-wlad fy nhadau.

Os ceir y grymus lew,
Dewr lyw y goedwig,
A'r camel llyfn ei flew
Yn mhoethdir Affrig,
Mae yma y llwynog cyfrwysgall a'r ddafad,
I'w cael ar ein bryniau anwylaf yn wastad.

Os yw y perlau drud
I'w cael yn India,
Mae'n perthyn i bob tud
Eu rhagoriaethau,
Ceir yma y llechau yn lluoedd afrifawl,
O esgyrn ein bryniau er llesiant gwastadawl.

Tra mae ar led y byd
Ryw orwych demlau,
I luoedd ddod ynghyd
At eulun dduwiau,
Mae glanau yr Ogwen yn dryfrith o demlau,
At roddi addoliad i Dduw yr holl dduwiau.

Gan hyny mawr yw mraint
O gael fy ngeni,
A diolch o pa faint
A ddylwn roddi
Am gaffael fy ngeni mewn gwlad mor grist'nogol,
O eigion fy enaid rhof ddiolch gwastadol.

O Ogwen, wrth ddilyn dy lanau hudolus,
Mil myrdd o wrthrychau ymledant o'm blaen;

Darfelydd y prydydd gaiff wleddoedd danteithus,
  Wrth wel'd dy brydferthion mor swynol ar daen.
Yn agos i'th lanau ar lanerch ddymunol
  Bu'r ddadl rhwng Wythiant a Gwydion ab Don[1]
Taliesin y prif-fardd oedd yno'n bresenol,
  Cofnododd yr hanes, mae'n awr ger fy mron.

Gadawaf y dlos-nant er maint ei rhagorion,
Gan rodio i waered drwy'r dolydd gwyrddleision,
Ac yma bwthynod godidog a welaf
Ac o bob bwthynod ceir yma'r rhai harddaf.

Hafod-tai iachusol gan deulu y Penrhyn,
  Pan dalent ymweliad ar ddiwrnod o haf;
A'r gloddfa ddihafal a saif yn gyferbyn,
  Eu gweled oll drwyddynt yn llawen a gaf;
Cywreinion celfyddyd sy'n addurn i'w muriau,
  A natur yn gosod ei gemau ar lawr,
Fel pe yn lluddiedig wrth gario ei thlysau,
  O olwg ardderchog, eu gwychder sydd fawr.

Celfyddyd 'nawr welaf yn dangos ei hegni,
Ond ar bob celfyddyd gwna natur ragori;
Penigamp yn ddiau yw'r bont, ac ardderchog,
Ond mil mwy arddunol yw'r rhaiadr mawreddog,
Ei ruad gwastadol, a'i dlysni dihafal
Sy'n gwneud im ei alw Niag'ra yr ardal;
Gwledd lawn i bob meddwl yw'r olwg ysblenydd
Ar Ogwen a'i glanau a'i cheinion dieilydd.

Ust! ust! beth yw'r udgorn a glywaf yn bloeddio,
Ai galw ein milwyr i'r gâd y maent eto?
A'i galon anwaraidd sydd yma'n dynesu,
Beth ydyw? beth ydyw? mae nghalon yn crynu,
Clywch drystfawr ergydion mal tyrfus daranau
Nes siglo y ddaear a chrynu'r wybrenau,
Ond creigiau y gloddfa atebent mewn mawredd,
Nid oes yma ryfel nac unrhyw gelanedd,
Celfyddyd sydd yma yn beiriant darbodus
At angen plant dynion a'u gwneud yn gysurus;
Esgynaf yn araf i fynu ei llethrau,
Er gweled yn amlwg ei chain ryfeddodau;
'Naill oriel uwch oriel mewn cynllun ardderchog,
Yn unawl gyd-ddangos ei threfniant godidog,

[1] Gwel yr "Observations," tu dal. 108.

A'r uchel hardd golofn yn sacthu o'i chanol,
I ddangos gorchestion ei dyddiau boreuol;
A'r dirif ddewr weithwyr ar hyd ei hystlysau
I'w canfod yn fywiog yn nghrog wrth eu rhaffau;
Tra un gyda'i forthwyl yn curo yn ddiwyd,
Y llall gyda'i drosol a welir yn symud
Rhyw ddernyn afluniaidd o'r graig at ei bwrpas,
Ac arall a'i lluniai a'i gynion yn addas;
Fel yna ceir allan y llechau'n filiynau,
Fu'n cadw yn nghrombil y mynydd am oesau.

A'r gwrdd lech-beirianau ar gyfer y gloddfa,
  Lle gweithir y llechau i bob dull a llun,
Dyfrgistiau, beddfeini o'r dull godidoca'
  Geir yma mewn harddwch a mawredd ynglyn,
Ei henwog beirianwaith yn eglur ddangosa
  Ddoethineb ei llunwyr ar gyhoedd y byd,
Cywreinwaith dieilydd yn wir a geir yma,
  Anrhydedd i'r gloddfa drwy'r oesau a ddyd.

Yr awel a'r agerdd yn unol weithredant,
A'i chyfoeth difesur drwy'r ddaear a gludant;
E dyr hon anghenion holl wledydd Europa,
Americ ac Affric, hyd eithaf byd Asia;
Gwyr China falchiant pan welant ei llechau
Yn cael eu trosglwyddo i'r nefol ororau.
Cyn hir bydd preswylwyr bro'r Ganges yn llawen
Wrth gael eu hanrhegu a llechau Glan Ogwen.
O begwn i begwn ei chyfoeth ymleda,
A gesyd anrhydedd tragwyddol ar Walia.

O Fraich y Cafn anwyl tydi wyt frenhines
Llech-gloddiau y ddaear a'u cain ymerodres,
Y llech-gloddfeydd bychain ymgiliant o'th olwg,
Fel ser pan ddychwelo yr huan i'r amlwg;
Doethineb sydd ynot i'w wel'd yn mhob cynllun,
A llwyddiant gwastadol ganfyddir yn dilyn.
Nid hyrddio y gweithwyr i eigion y ddaear,
Ac yno eu llethu dan loesion digymar,
Fel truain gaethweision i ddioddef eu penyd,
A sugno i'w cylla bob nwy ac afiechyd,
Ond yma awelon iachusawl a yfant,
A gemau yr wybren yn eglur ganfyddant,
Teyrn cadarn y dydd eu golau disglaeriol,
Ymlidia'n llwyr ymaith dywyllwch caddugol;

Darbodir yn hon at gysuron gwastadol
Y gweithwyr, mewn ystyr deuluaidd a moesol;
Ysgoldai ysblenydd at roddi hyfforddiant
I i'enctyd yr ardal o roddiad ein Pennant,
A'r Clafdy ardderchog lle gweinir ymgeledd
I'r holl glwyfedigion mewn awr o anhunedd,
Ymdrechion hyglodus yn hon a ddangosir,
A'i gofal gwastadol drwy'r fro ddiarhebir;
A'r Eglwys orwychawl at foesol anghenion,
Lle traethir am rinwedd y gwaed i euogion,
A'r Aberth anfeidrol ar glogwyn Calfaria,
A'r ffynon i gánu y du fel yr eira.

Ar lethrau y Fronllwyd eisteddaf gan syllu
Ar Ogwen a'i glanau rhamantaidd o'i deutu,
Brynmeirig, Brynderwen, palasau gwladgarwyr,
Ein meddyg clodadwy, a'n henwog lywiawdwyr,
A'u gerddi persawrus a welaf oddiyma,
A'r dref wir flodeuog a elwir Bethesda.
Rhyw Athen fach ydyw yn nghanol mynyddau,
A choron gogoniant yr Ogwen a'i glanau,
Hynodir hi'n wastad gan dalent ei meibion,
Y rhai a ddangosent i'r byd eu rhagorion,
Ei mawrion Gapelau a'i Heglwys ysblenydd,
Sy'n taflu rhyw urddas grefyddol drwy'r broydd;
A'r Ysgol Sabbothawl a'i chynllun godidog,
Sydd yma i'w chanfod mewn cyflwr blodeuog:
Caed yma brawf eglur o nerth yr Egwyddor
Wirfoddol, a'i gallu ddangoswyd drwy'n goror,
Gorfawrion addoldai drwy hon adeiladwyd,
A thrwyddi hi hefyd eu dyled ddilewyd,
Trwy hon y cynhelir yr holl weinidogion
Sy'n gweithio yn ddiwyd yn ngwinllan Duw Sion,
Prysured y diwrnod i hon gael teyrnasu,
A gormes a'i faglau fel niwl yn diflanu;
Yr iesin fasnachdai a'u golwg yn swynol,
Ar Terrace ysblenydd a'i wychder mawreddol;
A'r eang Farchnadfa, a'r Nwy-waith godidog,
Ddatganent yn eglur ei threfniant ardderchog;—
Bethesda, Bethesda, parhaed dy fawr gynydd,
Nes dyfod o honot yn addurn i'n gwledydd.

Yr Ogwen risialaidd wrth dreiglo drwy'r dolydd,
  Ei dwyfron addurnir a darlun o'r coed,
A'r adar yn gwefrio tlws lwyni y bronydd,
  Na chlywyd caniadau mwyneiddiach erioed

A'r meusydd gwyrddleision eu gwyneb orchuddiwyd
A gwisg Baradwysaidd yn geinwych a hardd,
O ddyffryn anwylfad un ail ni ddangoswyd,
I foddio teimladau ac ysbryd y bardd.

Ei dyffryn welir byth yn hardd
A'r afon drwyddo
Uwch ben ei lli y fwyalch chwardd,
Gan fwyn ymbyncio,
Ond dyffryn Bethesda sy'n lle heb ei amgen
Drwy'i waelod yn esmwyth ymdreiglia yr Ogwen.

Coed-lwyni welir ar ei glan,
A'u gwawr yn wyrddion,
Yn rhoddi addurn ar y fan
Fel dyffryn Saron,
A'r adar drwy'r cangau yn plethu anthemau,
Nes swyno holl anian i wrando'u caniadau.

Y brithyll iach mor nwyfus sydd
Yn chwareu ynddi,
Gan deimlo'i hun yn berffaith rydd,
Rhag pob camwri,
A'r helyg addolgar yn wyl a phengrymol,
Yn plygu ar fynwes yr Ogwen urddasol.

Y dderwen gref sy'n rhoddi phwys
Fel yn flinedig,
Gan edrych ar dy lif yn ddwys,
A gwrando'th ganig,
Drwy ddyffryn Cochwillan addurnwyd dy lanau
A derw henafol fel grymus gatrodau.

Y llysiau a ddiodi di
Wrth fyned heibio,
A'r aber fechan lynca'th li',
Heb unrhyw gyffro.
Dy ddwfr sydd yn loyw a'th arogl yn beraidd,
Erchwynion dy wely yw'r llysiau porphoraidd.

Dy wyneb weithiau fydd yn llyfn,
Ac yn ddigyffro,
A'r pysg fel gemau yn dy ddwfr
Yn llawen nofio,
Bryd arall y byddi yn berwi a rhuo,
Gan hyrddio clogwyni o'th flaen wrth ymruthro.

Palasdy mawr Coedmawr ynghanol y goedwig
Ganfyddaf yn eglur a'i ben gogwyddedig,
Yn edrych fel gwron blinedig 'nol brwydrau
A ddaliodd yn rymus ystormydd yr oesau,
Hen gartref boneddwr o ysbryd gwladgarawl,
Fu'n cadw drwy'r oesau ein beirddion teuluawl,
Y rhai a gydeilient eu hodlau difyrus,
A'r delyn yn arllwys ei hodlau soniarus;
Ond heddyw fe'i gwelir yn dechreu adfeilio,
Heb nemawr yn aros o'r gwychder fu yno.

Ac Eglwys Llanllechid a'i golwg ddymunol,
  Yn adail gysegrwyd gan ferch Ithel Hael;
A'r fynwent lle gorwedd rhyw lu o'r hil ddynol,
  Yn ol y cofnodau sydd genym ar gael;
A chloddfa Brynhafod yn nyddiau'i mabandod,
  Fel rhos yn ymagor mewn mawredd a bri,
Bydd hon dan ei choron mewn amser i ddyfod
  Yn arllwys o'i cheudod drysorau diri'.

Ar lethrau y Dinas goruwch melin Coedmawr,
  Y safai gynt Gastell a wyliai y fro[1]
Pob gelyn a gadwai rhag dyfod i'n gorawr,
  Ond heddyw ni welir ei gynseiliau o;
Ond hyfryd yw meddwl nad oes eisiau milwr,
  Ond milwyr Tywysog tangnefedd trwy'r wlad;
Prysured y dyddiau bo'r byd o'r un cyfiwr,
  Ac enw'r Messia mewn uchel fawrhad.

Draw dacw Cochwillan uwch coedfryn caeadfrig,
  Hen balas gwladgarwyr gwroniaid y fro,
O'u llwynau caed ini Archesgob dysgedig,
  Ein Williams[2] anwylaf, dihafal oedd o;
A'r llethrau gysegrwyd gan wadnau ein beirddion
  Wrth blethu eu hodlau i arwyr y lle,
Eu henwau a erys—coffeir eu rhagorion
  Tra gwelir haul anian yn llwybro y ne'.

A'r llanerch fynychwyd gan Derwas o Nanau,[3]
  Pan dalai ymweliad a phalas ei ferch,

[1] Gwel yr "Observations," &c., tu dalen 60, 61,

[2] Dr John Williams, Archesgob Caerefrog; ganwyd ef yn Nghonwy, bu farw yn Gloddaeth, a chladdwyd ef yn Llandegai.—Gwel y Genealogical Accounts of the Penrhyn and Cochwillan Families, gan y Parch J. Thomas, M.A. Beaumaris.

[3] Gwel yr "Observations," &c., tu dalen 137,

O hon cyfarchwiliai ein difyr ororau,
A hon yw y llanerch a swynodd ei serch;
Godrëon Arfonia ganfyddai o honi,
A Mon tan ei mantell flodeuog yn gain,
A'r weilgi lydanfawr o'i flaen yn crychferwi,
A'r tonau diorphwys, byddarawl eu sain.

A'r pontydd bwaog dros Ogwen a'i dolydd,
I'r ager-gerbydres chwimdeithio drwy'r wlad,
Er dwyn yr holl wledydd i undeb a'u gilydd,
A rhoddi i fasnach barhaol fywhad;
A'r gwefrau pellebrol i gyflym hysbysu
Newyddion y gwledydd,—helyntion y byd,
Pob math o ddigwyddiad o bwys gaiff ei draethu,
Y fellten adeiniog a'u dywed i gyd.

Llandegai ganfyddaf heb le yn ail iddaw,
Gardd Eden Eryri yn ddiau yw'r fan,
Celfyddyd a natur ysgydwant eu dwylaw,
A'u ceinion a blethwyd oddeutu y Llan;
Mynedfa orwychawl i Gastell y Penrhyn,
A'r tlysion anedd-dai, a'r llenyrch lle chwardd
Y blodau amryliw, a lili y dyffryn,
A'r rhosyn yn gwenu ar fynwes yr ardd,

A'r gorwych anrhegion o roddiad ein Pennant,—
Y drudfawr Ysgoldai er budd i'r holl wlad,
Lle rhoir i'r ieuengctyd yn hylithr hyfforddiant,
A hufen dysgeidiaeth geir yma yn rhad,
Tra careg ar gareg o'u muriau godidog,
Tra llifa yr Ogwen ar wely o rô,
Bydd enw'r boneddwr haelionus yn enwog,
A pharch ac anrhydedd gaiff byth yn y fro.

A'r gain Eglwys Wladol lle gorwedd gweddillion
Yr Archesgob Williams, dewr filwr Duw Sion,
Y gwladwr haelionus, duweinydd dysgedig,
Boed heddwch drwy'r oesau i'w lwch cysegredig;
A'r iesin gofnodion am deulu y Penrhyn,
Ysplander eu golwg a'm tery a dychryn;
A'r fynwent ardderchog a'i chofion yn dryfrith
Am wreng a boneddig sydd ynddi yn gymlith.
Pob un yn cydorwedd,—pob genau yn ddistaw,
A'r corau asgellog o'r Yw yn cydeiliaw.

Gorweddle ein Williams,[1] a'n Peris odidog,
A Prichard anwylaf hen sant y Braichtalog.

Dymunaf gael beddrod pan hunwyf yn angau
Wrth ystlys y Prif-fardd i orphwys mewn hedd,
Ac yno telored yr adar o gangau
Yr Ywen. a'i dagrau eneinir fy medd,
Ac yno y llechaf nes deffry'r archangel
A'i fonllef ofnadwy farwolion y llawr,
Pryd hyny ar amnaid cyfodaf o'm hargel,
I sefyll yn wyneb y gyfiawn farn fawr.

A'r Penrhyn a welaf ar finion y Fenai,
Y Castell ardderchog lle gynt y preswyliai
Yr enwog D'wysogion fy'n llywio ein Gwynedd
Am oesau dilynol mewn rhwysg ac anrhydedd,
A'n Rhodri Molwynog,[2] y doethgall wladweiniwr,
Y llywydd galluog, a'r hybarch wladgarwr.

Fy meddwl sy'n gwibio drwy gaddug yr oesau,
Nes gweled Meredydd[3] yn trefnu ei rengau,
Dych'mygaf eu gweled mewn nerth a gwrhydri,
Pob llygaid yn melltio, pob cyhyr ar egni,
A'u dirif bicellau yn hisian drwy'r awyr,
Fel haid o wiberod i'w canfod yn eglur,
A thrwy eu cynddaredd y Castell feddianwyd,
A'r adail ysblenydd i'w sail a lwyr losgwyd,
Ond eilwaith caed ini o adfail ei dyrau
Adeilad fu'n addurn i'n gwlad drwy'r canrifau.
Yn hwn y cartrefai'r bythgofiawl Pierce Gryffydd,[4]
Yr enwog ryfelwr. gwladgarwr dieilydd,
Ei ysbryd a daniai mewn aidd a brwdfrydedd,
Dros gadw ei deyrnas mewn bri ac anrhydedd,
Ein harwr mewn yni a gasglodd ei ddewrion,
A hyf y marchogodd ar donau yr eigion,
Ei gadlong a welwyd yn rhwygo y tonau,
A'r awel yn chwyfio ei lliwiawg lumanau,
Cref lynges Hispania a deimlodd ei ddewrder,
Gorchfygu neu farw arwyddai ei faner;

[1] Y diweddar W. Williams o Landegai, bardd a hynafiaethwr enwog, awdwr yr "Observations on the Snowdon Mountains," "Prydnawngwaith y Cymry," &c. a Gutyn Peris.

[2, 3] Bu y Penrhyn yn meddiant Rhodri Molwynog yr hwn a ddechreuodd deyrnasu yn y flwyddyn 720, a llwyrlosgwyd ef gan Meredydd ab Owain yn y flwyddyn 987. Gwel y Genealogical Accounts, &c. tu dalen 164.

[4] Eto. Eto. tu dalen 177.

Mawr lwyddiant ddilynodd, y gelyn orchfygwyd,
Ac enw ein gwron drwy'r byd anfarwolwyd.

Dilynwyd ef yma gan uchel foneddion,
Y rhai a ddangosent i'r byd eu rhagorion,
A'r Castell cadarngryf yn fynych helaethwyd,
Ac amgaer am amgaer yn gadarn a roddwyd,
Nes gwelir e heddyw yn Castell a heria
Holl Gestyll y deyrnas mewn maint ac ysplandra,
Ei dyrau addurnawl sy'n saethu eu penau
Mewn rhwysg a mawrhydri i fro y cymylau,
Gan wawdio cynddaredd y gwibfellt echrysawl,
Y trymion ystormydd, a'r corwynt aruthrawl.

Darfelydd y prydydd rhy fach yw ac egwan
I wneuthur cyfiawnder a'r Castell hwn weithian,—
Gorwychion ystefyll yn llawn addurniadau,
Ffenestri aml-liwiawg, a phrydferth neuaddau,
Aneirif golofnau o farmor yn fflachio,
A gemau celfyddyd yn helaeth geir yno,—
Crogedig ddarluniau dryfrithent ei furiau,
Yn gasgliad o gampwaith arlunwyr yr oesau;
A'r llyfrgell gyfoethog (lle cedwir yn barchus
Brif weithiau ein cenedl mewn dull anrhydeddus)
Sy'n gronfa ddihafal o weithiau prif awdwyr
Y byd gwareiddiedig yn feirdd a rhyddieithwyr,
Mewn gair byr, hwn ydyw prif arwr Castelli
Ein teyrnas odidog mewn rhwysg a maintioli.

Ar lanau yr Ogwen ger traethell Oerlefain
  Bu brwydro[1] arswydus, bu erchyll y cri,
Holl gymoedd Eryri gan udgyrn yn adsain,
  A gwaed lladdedigion rhuddliwiwyd ei lli;
Ond heddyw yr adar sydd yno'n teyrnasu,
  Y cleddyf a'r bicell a yrwyd ar ffo,
A'r maesydd dan gnydau toreithiog yn gwenu,
  A baner tangnefedd yn chwyfio drwy'r fro.

'Nol hirfaith grwydriadau o'i tharddle cychwynol,
  Trwy leoedd brawychus o ystlys y graig,

[1] Cymerodd brwydr waedlyd le ar y Dalar hir, ger Aber-ogwen yn y flwyddyn 1648 rhwng byddin y senedd o dan lywodraeth Carter a Fursleton, a byddin y brenin o dan lywodraeth Syr John Owen, o Glynenau, yr hon a derfynodd yn marwolaeth yr olaf.

Rhwng dolydd a gelltydd, a manau hynodol,
  Ymlithra yn esmwyth i fynwes yr aig.
Mal Llyngca'r Mor Marw y rymus Iorddonen,
  Y collir ei llinell—y derfydd ei bri,
Mal hyny y collir y dlos afon Ogwen,
  Yn nyfroedd y Menai y llyncir ei lli'.

# Pryddest

AR

# FAB Y WRAIG WEDDW O NAIN.

Cyd-fuddugol yn Eisteddfod y Rhyl, 1855.

Wrth droed mynydd Tabor yngwlad Palestina,
  Y llanerch addurnwyd gan natur yn gain,
Y safai teg ddinas yn mro Galilea,
  Prif falchder y dyffryn yn ddiau oedd Nain;
Ei difyr amgylchoedd addurnwyd gan anian,
  Pob llanerch o'i hamgylch edrychai yn dlos,
Fe drwsiwyd pob llechwedd gan natur yn mhobman,
  A gwenai y gwinwydd uwch lili a rhos,

Ei muriau oedd gedyrn, a'i phyrth oedd yn llydain,
  A gwawdient gynddaredd y gelyn a'i rym,
Ei theg adeiladau adeiliwyd yn gywrain,
  A heriai ei thyrau y corwynt erch llym;
Ei heirdd synagogau a daflai ryw urddas,
  A dwyfol barch bywiol i enw y lle,
A bywyd ysgogol a lanwai y ddinas,
  Y diwyd breswylwyr a lanwai y dre'.

Ond ah! nid yn unig ei muriau na'i thyrau,
  Gysegrodd ei henw, fu'n sylfaen ei bri.
Nid rhif ei phreswylwyr, na'i chyfoeth yn ddiau,
  A gadwodd ei henw hyd yma i ni;
Anheilwng o urddas y Gair Dwyfoledig
  Fuasai'i chofnodi ar wyneb ei ddail,

Pe na buasai calon ein Crist Bendigedig
 Yn Nain wedi dangos y cariad diail,

Mewn bwthyn yn dawel preswyliai gwraig weddw,
 A'i hunig fachgenyn ei nodded rhag cam,
Mewn lle neillduedig o gyrhaedd pob berw,
 Gobeithion ei henaint, a chysur ei fam.
Y tad oedd yn gorwedd yn mro cysgod angau,
 O gyffro a therfysg helbulon y byd,
Gadawodd ei deulu yn ngwlad y gofidiau
 O'i ol i gydymladd eu ffordd yno'n nghyd,

Bu'r teulu fel amryw yn byw yn gysurus,
 Sirioldeb yn eistedd yn deg ar bob grudd,
Heb neb yno'n gwybod am galon drallodus,
 Na meddwl gan ofid yn isel a phrudd,
Ond dwfn ydyw troion Rhagluniaeth y nefoedd,
 Ac anhawdd rhoi arnynt y teg eglurhad,
Daw angau brwnt, llidiog i ysgar teuluoedd,
 Ac felly bu yma, bu farw y tad.

Bu diwrnod ei gladdu yn ddiwrnod cymylog
 I'w briod alarus, a'i bachgen yn wir,
O'i roddi i orwedd dan fantell flodeuog,
 A dynodd ofidiau barhaodd yn hir;
Y gawod oedd orfawr yn llawn o ofidiau
 Agorodd ffynonau heillt ddagrau ei serch:
Rhyw lanerch brudd ydyw tiriogaeth yr angau
 Gwaedlifa y teimlad ar lan y bedd erch.

Bu lawer dechreunos yn cadw cymundeb
 A'i bachgen anwylaf, gan son am ei dad,
A d'weyd mai ei wely oedd dufedd marwoldeb,
 Ei mynwes dyneraf a deimlodd y brad;
Ond megys gwawr araf, neu dyner belydryn
 O haulwen yn gwenu drwy'r dymestl o draw,
Y sugnai ei chysur yn oes ei bachgenyn,
 Ei gobaith cryf ynddo wasgarai y braw.

Ei wel'd yn troi allan fel bachgen llafurus
 I weithio yn ddiwyd at gynal ei fam,
A fu fel iach olew i galon drallodus,
 Ail sugnai gysuron tymhorol heb nam,
Ei ddognau oedd iddi yn destyn llawenydd,
 A llwyddiant ei bachgen oedd hedd iddi hi,
Aml noswaith bu'n diolch yn gynes i'w Harglwydd
 Am gofio'i lawforwyn a gwrando ei chri.

Ond ah! ar ryw noswaith dychwelai'r llanc adref
  'Nol llafur a lludded gormodol y dydd,
A'i wedd yn arddangos rhyw ofid anaele,
  Ei lygaid oedd glafaidd, a gwelw ei rudd,
Ymffugiai i wenu y clefyd poeth marwol
  Rhag suddo'i anwylfam i ormod o fraw,
Ond gormod gwaith iddo y boen oedd ddirdynol,
  Prin gallai ef siarad nac ysgwyd ei law.

Och! och! gyfnewidiad disymwth ddaeth arnynt,
  Y cwpan ail lanwyd a gofid drachefn,
Fel egwan blanigfa i uthredd y corwynt
  Y chwalwyd eu cysur, pwy ddeall y drefn,
Ail oeddynt i ddefaid diniwaid yn pori
  Ar welltog fryn tawel, ddifyraf fwyn braidd,
Ond arnynt ymruthrai o gysgod y llwyni
  Y gelyn ysglyfgar, a'u difa wna'r blaidd.

Y bachgen a rwymwyd yn nghadwyn afiechyd.
  A'i glefyd gynhyddai yn fwy fwy bob dydd,
Ei boethder ofnadwy a welid yn enbyd,
  Ac angau a chwarddai drwy gochni ei rudd,
Arwyddion marwolaeth a welid yn eglur
  Yngrym yr afiechyd yn mhoethder y clwy',
Yr ydoedd yn ormod i'w gynal i natur,
  Ac felly y gweithiodd o hyd yn fwy fwy.

Yn brysur dihoenodd ai'n wanach ai'n wanach,
  Er maint ydoedd dagrau a llefau ei fam,
I byrth cysgod angau prysurai'n gyflymach,
  A buan iawn yno y rhoddodd y cam,
I'r afon ddofn enbyd y dyffryn du hwnw,
  Sy'n arwain dynoliaeth i 'stafell y bedd,
Er maint oedd ei galar y bachgen fu farw,
  Yr anadl ddarfyddodd, newidiodd ei wedd.

Ei chalon drallodus gan rym ei chaledi,
Nis gallodd ymgynal yn nydd y trueni,
Ei phriod fu farw, a'i hanwyl fab hawddgar
Oedd barod i'w roddi yn mynwes y ddaear,
Ei bwthyn yr awrhon oedd gartref gwir dristwch,
A'i mynwes oedd loches i bob anedwyddwch.
Y dydd y bu farw ei phriod anwylaf,
Cymysgai ei chwynion a'i bachgen hawddgaraf.
Ond heddyw heb fachgen na phriod yr wylai,
A'i chalon drallodus gan alar ymholltai;

Mae'n wir bod cym'dogion caredig yn gweini
I'r weddw ddigalon ar awr ei thrueni,
Ond estron oedd pawb, nid oedd ei bachgenyn
Ond marwol dywarchen yn barod i'r dyffryn;
Pob mynwes drwy'r ddinas a gydymofidient,
A'r weddw alarus yn aml gysurent.

Ynghongl ei llwyd fwthyn y weddw alarai,
A'i chwynion trallodus fel hyn a ymdorai,—

"Gwag yw'r byd o bob mwynderau,
  Noddfa blin ofidiau yw,
Chwerw, chwerw ydyw troion
  Sy'n cyfarfod gweddw wyw,
Cymyl tewion ymdaenasant
  Dros ffurfafen brudd fy oes,
Cysur fel aderyn hedodd,
  Hedd na chysur mwy nid oes.

Mwy na sonier am drallodion,
  Na gofidiau ger fy mron,
Unig loches pob helbulon
  Ydyw'r galon drymllyd hon;
Gwelais wen y byd yn ddiau,
  Profais wed'yn er fy mraw
Ddyfnder gofid pob gofidiau,
  Marah! Marah! wyf rhagllaw.

Gynt, llawenydd arnaf chwarddai,
  Teulu llawn ac aelwyd dlos,
Tad a phlentyn anwyl wenai,
  Erbyn heddyw *un* nid oes;—
Gwelais briod hoff fy mynwes
  Do, yn llithro i byrth y bedd,
O dan ddelw oer yr angau,
  Nid anghofiaf byth ei wedd.

Gwelais fyd drachefn yn gwenu,
  Er na wenais i fy hun,
Prudd adgofion oedd i'm gwanu,
  Hiraeth creulon oedd ynglyn
Yn y fynwes drymllyd yma,
  Mynwes archolledig yw,
Galar trymllyd ynddi lecha,
  Dyma gartref hiraeth byw.

Ond os llawn oedd cwpan gofid
  Diwrnod claddu f'anwyl wr,
Dyma gwpan llawnach eto,
  Mwy ni feddaf unrhyw dwr,
Colli sylfaen fy ngobeithion,
  Rhoi fy machgen yn y pridd,
Hyn sy'n rhwygo'r drymllyd galon,
  Dyma eithaf gofid prudd.

Dyma eithaf profedigaeth,
  Dyfnder, dyfnder galar yw,
Anhawdd gweled trefn rhagluniaeth,
  Hon ni welaf yn fy myw,
Yn drugarog fel fy Arglwydd,
  O tosturied Ior y nef,
Rhodded gymorth i mi'n ebrwydd
  Rhag i'm feio'i lwybrau ef.

Rhoi fy machgen yn ei flodau
  I briddellau oer y glyn,
Hyn sy'n d'rysu fy synwyrau,
  Anhawdd gwybod beth yw hyn,
Unig obaith fy nghynaliaeth,
  Tywyll iawn yw llwybrau Naf,
Gorddwfn ydyw trefn rhagluniaeth,
  O fy ngofid!—beth a wnaf?

Dyma adeg ei gynhebrwng,
  Rhaid ei roi yn medd ei dad,
Rhaid i'm teimlad prudd ei ollwng,
  O fy anwyl blentyd mad."
Dacw'r dorf trwy borth y ddinas
  Ar yr elor yn ei ddwyn
Draw i randir du marwolaeth,
  A'r fam yn dilyn, och! eu cwyn.

Ust! ust! dyna adsain rhyw dyrfa yn dyfod,
  Eu trwst sydd yn llenwi amgylchoedd y wlad,
Yr angladd a'r dyrfa sydd bron a chyfarfod
  Gerllaw pyrth y ddinas mewn uchel fawrhad,
Mae gwr yn eu blaenu yn awr tua'r ddinas,
  Pwy? pwy, a'i Tywysog neu Frenin yw'r dyn?
Mae'r dyrfa luosog yn offrwm eu hurddas
  I'w enw mewn moliant, pwy ydyw yr un?

Mi dybiaf fod deillion, na, na maent yn gweled,
  A'r cloffion yn llamu o'i amgylch fel wyn,

A gwas y Canwriad o hirhell i'w glywed
  Yn moli y blaenor caredig a mwyn;
Pwy ydyw? pwy ydyw? yr Iesu debygaf,
  Fu'n siarad clefydau a heintiau i ffoi,
Ah! 'i olwg anwylaf, a'i lygaid llareiddiaf,
  I gwrdd y cynhebrwng y gwelaf e'n troi.

I foddi y cynwrf clywch alar y weddw,
  Ei gofid sy'n ddigon i hollti y graig,
Wrth fyn'd tua'r fynwent i hebrwng ei marw,
  Tosturied y nefoedd wrth ofid y wraig,
Na, wele yr Iesu yngrym yr olygfa
  A'i fynwes drugarog yn enyn yn fflam,
Y weddw a ganfu, dywedodd "Nac wyla,
  Fe sychir dy ddagrau, dyddenir di, Fam."

Y llaw fu'n ymaflyd cyn hyn yn merch Jairus
  Gyffyrddodd a'r elor, a safodd y llu,
Yr un fy'n cyd-deimlo a lluoedd adfydus,
  A'i eiriau i gleifion yn iechyd y fu;
Wel syned y nefoedd, rhyfedded y ddaear,
  At fawredd tosturi y Crewr yn awr,
Yn gostwng i sylwi ar weddw mewn galar,
  Wrth hebrwng ei bachgen i oergell y llawr.

Yn rhwymau marwolaeth yr unig orweddai
  Yn barod i'w roddi dan briddell y bedd,
A rhaglaw marwoldeb yn awr a'i dilynai
  Heb bryder nac arswyd yn gwisgo ei gledd,
Erioed ni feddyliodd yr angau am fynyd
  Wrth arwain ei ysbail i'w ddinas ei hun,
Ei fod ar gyfarfod ac Arglwydd y Bywyd,
  Diameu na thybiodd ef wel'd y fath un.

Ond ah! dacw fywyd yn cwrdd yr un marw,
  A gwaeddai "Wr ieuangc tyr'd cyfod yn awr."
Ei air a fu'n fywyd i fab y wraig weddw,
  Ac angau a syrthiodd mewn llesmair i'r llawr;
"Y marw gyfododd yn awr yn ei eistedd,"
  "Dechreuodd lefaru" yn fywiog heb nam,
A'r Iesu a'i dygodd o'i ddirfawr drugaredd,
  Adferodd y bachgen o feirw i'w fam.

Ei dagrau a sychwyd yn awr gan drugaredd,
  Y fynwes a lyncwyd gan alar yn lan
Ail lanwyd o'r newydd a gwresog glodforedd,
  Yr Iesu trugarog oedd sylwedd ei chan,

Yn mraich ei mab anwyl dychwelai'n ol adref
  Mewn moliant dieilydd o gyntedd y bedd,
Ei chlodydd a synai angylion goleunef,
  Llawenydd dihafal a wisgai ei gwedd.

Yn lle rhoi ei bachgen yn mynwes y beddrod,
  I'w mynwes ei hunan fe'i cafodd drachefn,
A chanwaith diolchodd am iddi gyfarfod
  Yr Iesu bendigaid, a molodd ei drefn,
Cofleidiai ei bachgen, diolchai i'r Iesu,
  Addolai, molianai yn uchel ei llef,
Y nefoedd a wenai, ac angau wnai synu,
  A phawb roi ogoniant i Arglwydd y nef.

Mewn agwedd wahanol yr angladd ddychwelai
  Yn ol yno eilwaith drwy byrth dinas Nain,
Eu moliant a'u diolch o'u blaen a ehedai,
  A'r ddinas oll drwyddi gyffroed gan y sain,
Rhyw ofn a llawenydd a wisgai bawb hefyd,
  Rhyw syndod a diolch glybuwyd yn glir,
A llefai'r trigolion yn llawen eu hysbryd,
  "Yr Arglwydd ymwelodd, do, eilwaith a'i dir."

Y bachgen aeth adref yn mraich ei fam hawddgar,
  Gerbron yr hen allor plygasant ynghyd,
I ddiolch i'r Arglwydd Gwaredwr y ddaear,
  A mawredd ei gariad i waelion y byd;
Os trist ydoedd calon ei fam yn y boreu,
  Ei dagrau a sychwyd gan gariad y Crist,
Am adfer ei bachgen offrymai ganiadau,
  A thaniwyd ei hysbryd clwyfedig a thrist.

A son am yr Iesu drwy'r wlad a ymledodd,
Trwy Juda ac Israel ei glod a ddyrchafodd,
A llawer trist galon ddiolchodd i'w enw
Am wneud y drugaredd a "Mab y wraig weddw."

# Pryddest

AR

# GWYMP SEBASTOPOL.

---

Y Fuddugol yn Eisteddfod Bangor, 1856.

---

Sebastopol, Sebastopol a welaf yn cwympo
O flaen y Cyngreiriaid a'u dewrder diail;
Yr erchyll guddgloddiau yn awr sydd yn ffrwydro,
A'r cedyrn werthyroedd yn crynu i'w sail;
Y dewrder dihafal a welwyd yn Alma.
A llethrau Inkerman, ddangoswyd i'r byd;
Oh! olwg frawychus yn awr a geir yma,
Celfyddyd ac yni a unwyd ynghyd.

Y ddinas a heriai alluoedd y ddaear,
A dewrder anhyblyg holl rengau y gad,—
Y ddinas ymffrostiai o'i gweithydd digymar,
Nas gallai 'run gelyn byth lunio ei brad,—
Y ddinas y buwyd yn gwarchae am fisoedd
Oddiallan i'w muriau gan ddisgwyl ei chwymp,—
Y ddinas fu'n achos o angau i filoedd,
Fe rifwyd ei dyddiau, daeth amser ei thymp.

Os methwyd a llwyddo yn nghanol Mehefin,
Ni thorwyd un galon, ni laeswyd un llaw;
Ond erchyll danbelu y lle wnaed yn ddiflin,
Gan ddweyd, "Buddugoliaeth yn fuan a ddaw."
A'r Rwsiaid ofynent mewn gwawdiaeth i'n milwyr,
"Pa bryd y bwriedwch gymeryd ein tre'?"
Dangosent eu hyder drwy hyny yn eglur
Yn nerth a chadernid digymar y lle.

Ond gwawriad y boreu yr wythfed o Fedi
Atebodd ofynion y Rwsiaid i gyd,
Mewn tanllyd acenion dywedodd y peli
I'r gelyn ymffrostgar yn eglur pa bryd,

Yr oedd y Cyngreiriaid yn meddwl meddianu
  Cadarnle y Rwsiaid, a dychryn y byd,
Nes ydoedd y gwaed yn eu gwythi yn fferu,
  A'u llwynau glybuwyd yn curo yn nghyd.

Rhyw ddiwrnod ofnadwy oedd dydd tanbeleniad
Y dref ddiofrydol, fe'i cofir yn wastad;
Fe'i cofir mewn galar gan lu o blant gwragedd,—
Y gweddwon adfydus, a'r plant diymgeledd
A wylant pan welant lyth'renau yr enw,—
Rhyw ddydd bythgofiadwy yn wir a fydd hwnw.

Uwch dorau y dwyrain fe wenai y wawrddydd,
A'r udgyrn rhyfelgar gyffroai y broydd,
A'r creigiai adseiniai y grochfloedd mewn mawredd,
Wrth alw y milwyr i faes y gelanedd.
Pelissier a Simpson, ein henwog Gadflaenwyr,
Areithient wroldeb i galon ein milwyr;
A'n dewrion a welid yn dod o'u llochesau,
Fel llu o ddywalgwn gan hulio y llethrau;
Eu harfau disglaerwych, a'u llydain fanerau,
A daflent wir ddychryn i'r gelyn a'i gadau:
Y cleddyf sychedig a glywid yn tincian,
Wrth iddynt ymnesu i faes y gyflafan;
Disgynent i'r ffosydd yn barod i ruthro
I safle y gelyn, a'i wneyd i encilio.

  Yn awr dyna'r Megnyl yn dechreu taranu,
Nes ydoedd y bryniau o'u hamgylch yn crynu,
A thonau gynhyrfai yr Euxine i'w waelod,
Gan faint oedd erchylldra ac uthredd y difrod.
Arllwysent gawodydd dinystriol i'r ddinas,
A marwol genhadau i wneuthur galanas;
Och'neidiai y ddaear—llonyddai holl anian,
A'r haul a ymguddiai o wydd y gyflafan,
Rhag sefyll yn dyst o'r olygfa ddychrynllyd,
Fe guddiai ei wyneb mewn cwmwl caddugiyd.
Y ffrochus ergydion o'r trymion gyflegrau,
A rwygent yr awyr, a godwrdd y gynau
Yrasant dynerwch a theimlad i wylo,
Ac engyl pur anian a ffoisant o'r cyffro.
Pob dyfais ac egni yn awr a ddangoswyd,
Pelenau aruthrol o faint a chwyrndaflwyd,
I esgor ar angau yn rhengau y gelyn,
A welid yn wrol yn sefyll i'w herbyn,

Fflamychiad Morterau ganfyddir yn eglur,
A'r tanllyd gau-belau yn hollti yr awyr;
Yn ngweithiau y gelyn disgynent fel cesair,
Marwolaeth! Marwolaeth! a oedd eu harwyddair.

Wel, wel dyna'r Megnyl yn awr yn distewi,
A'r cleddyf a'r fidog, gan waed yn rhuddgochi;
Y Ffrancod a welaf yn neidio o'u gweithiau.
Yn newrder ac yni cynhenid eu tadau;
Gwynebu i gaerau cadarngryf y gelyn
Wnai Bosquet, a'i luoedd arwrol yn dilyn.
Rhnthrasant i'r ymgyrch fel llew i'w ysglyfaeth,
Nes taflu y gelyn i ddyrus anobaith;
Ymruthrent i fynu i'w huchel safleoedd,
Er gwaethaf cynddaredd ac egni y lluoedd:
Yn nerthol a chyflym i weithiau y gelyn,
A lluoedd ar luoedd a welid yn dilyn,
Gan ruthro yn eon drwy'r holl wn-agenau,
Nes gwelid y Malakoff yn llawn o'u cadrodau.
Y Rwsiaid a ddaliwyd mewn syndod anrhaethol
Wrth weled y Ffrancod yn awr yn feddianol
O'r unig agoriad i'r dref ddiofrydol;
Er hyny ymladdent yn ddewr ac arwrol;
Ymruthrent i'r Ffrancod mewn nerth a gwrhydri,
Er hyny gorfyddwyd hwy i gilio'n ddioedi.
Adffurfiwyd colofnau o'r "glewion Gosaciaid,"
Y rhai a ruthrasant fel haid o anwariaid,
Gan dd'weyd yn eu hyspryd, "Ni fynwn orchfygu
Y gâlon barbaraidd, yn awr gwnawn eu mathru;
Adenill ein safle a fynwn er gwaethaf,—"
Er hyny ciliasant 'nol brwydr ffyrnicaf;
Y faner driliwiawg mewn yni a blanwyd,
A'r Malakoff cadarn yn awr a feddianwyd.

Ar hyn, wele arwydd i'r dewrion Frydeiniaid
  I fyn'd yn golofnau diysgog i'r gad;
Pob gwyneb a wridai, melltenai pob llygaid,
  Wrth gofio am ddewrder cyn-arwyr eu gwlad.
Anturient drwy danau llofruddiog y gelyn
  I wyneb y Redan yn wrol yn awr;
A'r Rwsiaid yn lluoedd yn sefyll gyferbyn,
  Gan wneud galanastra,—eu difrod oedd fawr.

Och! erchyll gyflafan fu yn y fan yma,
Fy nghalon sy'n delwi wrth wel'd yr olygfa;

Y Rwsiaid i'w gweled yn lluoedd afrifawl,
Yn cael eu cysgodi gan weithiau gornerthawl;
A mintai'r Prydeinwyr ar le diamddiffyn,
Yn hollawl agored i dânau y gelyn;
Er hyny ymruthrent fel tonau'r dyfnderoedd,
A dringent i'w safle fel ceirw'r mynyddoedd.
Ond methwyd a chadw y lle yn eu meddiant,—
Y Rwsiaid nifeiriawl yn awr orfuasant;
Ond Wyndham a ruthrodd i ganol y gelyn,
A gwaeddai yn wrol am filwyr i'w ddilyn;
Anfonwyd Swyddogion i erchi am ddynion,
A safent yn wrol i dân y gelynion;
Ond trengodd pob cenad cyn cario'r gorchymyn
I glyw y Cadlywydd a safai gyferbyn,
A'r gelyn fel cenllif ofnadwy yn rhutho
I ystlys y Redan gan erchyll gigyddio;
A'r dyrnaid Prydeinwyr yn sefyll yn wyneb
Y rhengau lluosog, er maint eu trychineb;
Safasent yn wrol i'r rhuthriad ofnadwy,
Fel clogwyn ysgythrog i'r erchyll ryferthwy;
Y cleddyf yn tincian, y fidog yn rhuddo,
A'n milwyr dewrgalon yn gyflym yn cwympo;
A dim adgyfnerthion o unman i'w canfod,—
'Roedd hyny'n chwanegu at uthredd y difrod:
A'r milwyr yn farwol fel cesair yn disgyn,
Ac angau'n ymrythu ei safn idd eu derbyn.
Ond Wyndham ddewrgalon a ruthrai ei hunan
I gyrchu ychwaneg o wyr i'r gyflafan,
Ac archai i Grealock am iddo hysbyu
Yr achos o'i fyned, os cwympai cyn hyny.
Cyrhaeddodd y gwron i'r ffos yn ddiangol,
Tra'r gelyn yn arllwys cawodydd angeuol;
Ar hyn wele'r milwyr yn brysur yn dilyn,
A'r gelyn a'i fidog a'r cledd yn eu herbyn.
Fel yna y frwydyr orwaedlyd derfynwyd,
Ac un yn ail iddi erioed ni chofnodwyd.
Ha, dyma Ragluniaeth yr Ior yn cyfryngu,
A'r noson gaddugawl yn awr yn mantellu,
A Campbell, a gwyr yr Ucheldir yn wrol,
Yn barod i ruthro y bore dilynol
Mewn llawn hunanfeddiant a chalon i'r aerfan,
A meddwl diysgog am enill y Redan.
Ond gwawriad y bore roes olwg wahanol,
Y gelyn a welent yn lluoedd symudol,
Yn croesi y porthladd i'r ochr ogleddol,

Gan adael eu safle yn eirias angerddol.
Y ddaear gynhyrfwyd gan swn y ffrwydriadau,
A'u gweithiau gornerthol yn cwympo'n garneddau,
Y Fflagstaff, a'r Bastion, a Fort Alexander,
Yn filiwn o ddarnau mewn eiliad o amser.

Y llynges fawreddog fu unwaith yn hollti
Yr eigion trochionfawr, a'i agor yn gwysi,
Y nerthol gad-lestri, a'r cedyrn wn-fadau,
Fu'n marchog mewn mawredd a rhwysg ar y tonau,
Eu talgryf hwylbrenau, a'u golwg oruchel,
A'u llydain fanerau yn chwyfio'n yr awel;
Y llynges fu'n Sinope yn arllwys galanas,
A braw i breswylwyr diniwaid y ddinas,
Nes llenwi'r traethellau a chyrph ei dewr-feibion,
A suddo eu llongau i waelod yr eigion.
Y Vladimir brydferth, a'r Deuddeg Apostol,
Yr Elbueff a'r Paris, a'u golwg orswynol,
Gogoniant holl Rwsia, a dychryn y Sultan.
Pa le mae y cyfyn o'r hardd lynges weithian?
Mae anadl cyflegrau gornerthol y gelyn,
Yn agor erch safnau yr Euxine i'w derbyn.
O! 'r tanllyd golofnau o honynt sy'n dyrchu
I entrych yr wybren gan orwymp belydru,
Y nefoedd yn gwrido, holl anian mewn cyffro,
A'r elfen ddinystriol yn gweithio'n ddiflino.
(A'r dewrion gyngreiriaid yn ngoleu y fflamau,
Yn nodi yn fanol yr erch ddifrodiadau,)
Yr oddaith angerddol yn awr sy'n meddianu
Holl lynges y gelyn, a'i chyflym wasgaru,
Ar edyn yr awel yn wreichion gwasgarawl.
A'i mwg yn dyrchafu'n golofnau caddugawl,
Nes duo hardd wyneb y nwyfre ysblenydd,
Gan faint ydoedd uthredd y difrod dieilydd.
Ah! Arth fawr y gogledd, mewn beth yr hyderi?
Un gadlong na gynfad dinystriol ni feddi
Yn destyn llawenydd—yn ymffrost dy galon,—
Fe hyrddiwyd y cyfan i ddyfngroth yr eigion.
Erch donau yr Euxine falchiant o'r diwrnod,
Pan gawsant anrhydedd o'u derbyn i'w gwaelod,
A thithau heb gymaint a chofnod hysbysawl,
I ddangos i'r ddaear dy allu arforawl.

Ymgiliaf yn ddirgel i'r dref ddiofrydawl,
A'm teimlad pruddglwyfus mewn cyffro a braw;

Wrth imi ddarlunio y ddinas andwyol,
  Fy nghalon sy'n delwi, a chryna fy llaw,
Y fan a fu unwaith yn gartref dedwyddwch,
  Sydd heddyw yn drigfan trueni a gwae,—
Y fan a fu unwaith yn orlawn o degwch,
  A gwychder digymar, Och! heddyw p'le mae?

Y ddinas fu unwaith yn addurn celfyddyd,
  A'i theg adeiladau yn syndod i'r byd;
Ei hyfryd heolydd ddangosent yn unfryd,
  Fod yno brydferthwch a mawredd ynghyd;
Palasau boneddion a frithent y ddinas,
  A'r temlau uchelfrig addurnent y lle;
A phob un o honynt yn taflu eu hurddas,
  I loni lluosog breswylwyr y dre'.

Ond O! erbyn heddyw mae golwg wahanol,
  A difrod anrhaethol i'w wel'd yn y fan;
Ar hyd ei heolydd y llifa gwaed dynol,
  Rhyw olwg frawychus yn awr sy' i'm rhan.
Y gwrdd adeiladau sydd heddyw'n garneddau,
  Y temlau ysblenydd ddymchwelwyd i'r llawr,
Effeithiau dinystriol y nerthol gyflegrau,
  Sy' i'w gweled yn amlwg drwy'r ddinas yn awr.

Y milwyr clwyfedig sy' rhwng ei hadfeilion,
  A'u dagrau a'u gwaed yn cymysgu ynghyd;
Ar edyn awelon anfonent erfynion
  Am gaffael trugaredd gwareiddwyr y byd.
Mae aml wr priod a ddygwyd o fynwes
  Ei deulu anwylaf, i'w wel'd yn y lle;
A llawer hardd fachgen, Och! drymed yr hanes,
  I'w glywed yn gruddfan yn adfail y dre'.

Ysbytai a welaf yn llawn clwyfedigion,
  Mewn agwedd druenus, rhai'n feirw, rhai'n fyw.
O olwg ofnadwy sydd yma yr awrhon,
  Mae'm calon yn crynu a'm teimlad yn wyw,
Y bywion yn gorwedd wrth ochr y meirw,
  Ac arogl ddrewedig yn llenwi y fan;
Mewn poenau dirdynol a'u llygaid yn welw,—
  Rhyw ddiwedd ofnadwy yn wir fu eu rhan.

Fy nghalon glafeiddia gan faint y trychineb,
  Yn adfail ei thyrau darllenir ei gwae,
Pa fodd gallaf ffugio i wisgo sirioldeb,
  Wrth gofio aml arwr, p'le mwyach y mae?

Os cawsom y ddinas, collasom fywydau,
  Mwy gwerthfawr na chyfoeth y ddaear ynghyd;
Os baeddwyd y gelyn, fe rwygwyd calonau,
  A hyrddiwyd rhyw filoedd anmharod o'r byd.

Och! Och! wedi'r cyfan, dim arwydd o heddwch
  A welaf o unman, ond ymladd o hyd!
Ni chlywir gair heddyw, ond gwaeddi "Ymleddwch,'
  O gelyd galonau gormeswyr y byd!
Y fagnel a'r cleddyf sydd heddyw yn gwledda
  Ar gyrph y dewrfilwyr ar gochfaes y gâd,
A'r fidog lemfiniog, ar waed dynol feddwa;
  O Dduw rho dangnefedd a heddwch i'n gwlad!

Ti, Oruwch-reolwr amcanion plant Adda,
  'Nawr ar y llifeiriant O! eistedd dy hun,
A goruwch-reola yr ymgyrch fawr yma,
  I ateb dybenion daionus i ddyn.
A brysied y diwrnod bo hedd yn teyrnasu,
  A hyfryd dangnefedd drwy'r ddaear i gyd,
A'r fidog, a'r cleddyf, a'r fagnel yn cysgu,
  Heb byth eisiau'u deffro mewn unparth o'r byd.

---

# Pryddest

AR YR

# HEDDWCH PRESENOL A RWSIA.

---

Y Fuddugol yn Mangor, Mehefin 2, 1856.

---

Mae'r awel yn sisial uwch beddau ein dewrion
  Yn mhyrth cysgod angau y sibrodd gair "Hedd"
Drôs lechwedd bryn Cathcart lle huna ein meibion
  Y rhai bu eu celain yn porthi y bedd
A ffrydiau'r Crimea sy'n seinio gair "Heddwch"
  Wrth olchi y cochwaed fu'n gwrido y wlad;

Elfenau a deimlant ryw newydd dawelwch,
  Y nefoedd ni theimla effeithiau y brad.

Heddwch yw newydd y fellten adeiniog,
  Wrth fforchi drwy'r gwledydd a dyfnffyrdd y don,
Heddwch gyhoedda yn mhobman yn frysiog,
  Fal cenad llawenydd didrai i bob bron ;
Heddwch a roddodd y wen ar bob wyneb,
  Tangnefedd a heddwch yw testyn eu cân;
Y dagrau a'r galar a droed yn sirioldeb,
  A hedd roes fynwesau y milwyr ar dân.

Heddwch medd megnyl yr Invalides gan ruo,
  Ein noswyl sydd agos—ein gwaith sydd ar ben;
Heddwch medd twrf yr elfenau mewn cyffro.
  Mae heddwch i'w ganfod drwy'r byd yn ddilen;
Heddwch medd Llundain a'i thrymion gyflegrau,
  Yn fanllef fyddarawl o'r Parkiau a'r Twr,
Wrth rwygo yr awyr Hedd, Hedd medd y pelau,
  Ni chawn ni gymeryd mwy fywyd un gwr.

Heddwch medd tonau yr Euxine cynhyrfus,
  Fy nyfroedd byth mwyach ni wridir a gwaed,
Wrth olchi creiglanau'r Crimea fythgofus;
  Heddwch, o Heddwch, gwir heddwch a gaed;
Heddwch medd tyner awelon y nefoedd,
  A hwyliau'r llyngesau sy'n sibrwd Hedd, Hedd,
Tangnefedd a Heddwch yw rhuad y moroedd,
  Y fagnel ddistewyd—gorchfygwyd y cledd.

Heddwch, caed Heddwch medd Eryr Ffranconia,
  A grymus Lew Prydain a rua Hedd, Hedd;
Yr Eryr sy'n trydar, y Llew a orwedda ;
  A'r arfau angeuol ddymchwelwyd o'u sedd;
Heddwch a etyb yr Arth fawr o Rwssia,
  Ni'm gwelir i eto yn dyfod o'm ffau,
Corweddaf fel oenig ar seiliau'r hedd yma,
  Nis gallaf ddod allan mae'r ddor wedi'i chau.

Y rhyfel aeth heibio, mae hedd yn teyrnasu,
  Y cleddyf a'r fidog sy'n huno'n un wedd,
Y fagnel angeuol sydd wedi tawelu,
  Ein gwyr a'n llyngesoedd ddychwelant mewn hedd
A heddwch y gweiniwyd y cleddyf gloddestgar,
  Trwy heddwch ataliwyd y difrod oedd fawr;

Bu heddwch yn angau i'r wrthrin* ddigymar,
  Mae baner wen heddwch yn chwifio yn awr.

Y cleddyf gloddestgar a'r fidog ruddliwiog,
  Cyd-hunwch yr awrhon yn dawel mewn hedd,
Na foed i chwi ddeffro fel offer llawruddiog,
  Ond cysgwch yn dawel ar waelod y bedd,
Nes delo yr adeg iwch fod yn ddefnyddiol,
  Fel arfau amaethwyr er llesiant pob gwlad,
Pryd hyny cyfodwch fel gweision ufuddol,
  A chewch yn wastadol wir uchel fawrhad.

Y gwaedlyd faes rhyfel gaiff fantell flodeuog,
  Ceiff ffrydiau yr Alma ymdreiglo mewn hedd;
Sebastopol hefyd a'i muriau gorddrylliog,
  Sy'n awr yn meddianu tawelwch y bedd.
Maent fel yn cydofyn, "Pa le mae y milwyr,
  A'r trymion gyflegrau fu'n ddinystr i ni,
A'r trymllyd geubelau fu'n hisian drwy'r awyr,
  Gan arllwys eu dinystr i waered yn lli?"

Ond tawel ddistawrwydd a etyb "mewn Heddwch,"
  Mae'r gwyr yn dychwelyd, fe weiniwyd y cledd,
Mae'r trymion gyflegrau yn awr mewn llonyddwch,
  E ddarfu y rhyfel—teyrnasu mae hedd.
Heddwch, caed Heddwch medd lluaws o wragedd,
  Ein gwyr a gawn weled yn dod adre'n fyw,
A lluaws o famau a waeddent yn unwedd
  Ein plant sy'n dychwelyd diolchwn i Dduw.

O anadl y megnyl. o ffiniau y beddrod,
  Derbynir y milwyr yn anwyl drachefn;
Mae'r tonau'n cusanu y llongau sy'n dyfod,
  Mae'r nefoedd yn gwenu wrth weled y drefn.
Heddwch, caed heddwch, mae'r weilgi eangfaith
  Yn berffaith agored i longau y byd;
Lle bu y cadlongau, mae llongau trafnidiaeth,
  Yn marchog y tonau mewn heddwch ynghyd.

Mae masnach y gwledydd drwy'r Hedd yn blodeuo,
  Mae dorau trafnidiaeth yn awr led y pen;
Galluoedd gelynol sydd wedi ymuno
  I berffaith gyflenwi eu gilydd heb sen,
Dos Rhagot O Heddwch nes iti feddianu
  Pob congl o'r ddaear. pob teyrnas ynghyd,

*Gwrthrin neu ryfel.

Ac yna mewn rhwysgedd boed iti deyrnasu,
  A llenwi a'th swynion galonau y byd.

Ac yna cawn weled y dedwydd Filflwyddiant,
  A heddwch fel afon, cyfiawnder fel mor,
A phob peth yn gweithio er rhoddi hyrwyddiant
  I deyrnas yr Iesu, yr Arglwydd, ein Ior.
Cenhedloedd y ddaear ar dŵr o hen fegnyl,
  Dros rydlyd gleddyfau ysgydwant eu llaw,
Wrth wel'd yr olygfa fe chwarddai yr engyl,
  Yn arwyl hen offer celanedd a braw.

# Pryddest

AR

# YR YSGOL SABBATHOL.

Y Fuddugol yn Nghylchwyl Lenyddol Talybont, ger Bangor, 1857.

Marworyn o dan oddiar allor y nef,
  O anfon belydryn tanbeidiol,
Nes enyn fy nghalon i godi ei llef
  Mewn moliant i'r Ysgol Sabbathol;
Seraphiaid y wynfa rhowch fenthyg eich dawn
  Fel gallwyf gymhlethu fy nghaniad,
A dangos daioni yr Ysgol yn llawn,
  I fynu i ddyddiau'i sefydliad.

Pan ydoedd ffurfafen ysbrydol ein gwlad
  Yn orlawn o dduon gymylau,
Heb seren yn unman yn arwyddocad,
  O wawriad mwy dedwydd amserau.
Yr Ysgol Sabbathol ddaeth allan pryd hyn
  A myrdd o fendithion i'w dilyn,
Gwasgarodd y caddug a guddiai bob bryn,
  A'n gwlad a ailwisgodd yn ddichlyn,

Gafaelodd yn nwylaw y plentyn diddysg,
A dysgodd y Wyddor oll iddo,
A nefawl oleuni wasgarodd i'n mysg,
Nes gwelwyd yr henwyr yn dawnsio ;
Y Gair Dwyfoledig a roddwyd yn llaw
Pob un o'i hoff ddeiliaid yn siriol,
Holl uffern gynhyrfwyd, ai'r diafol i fraw,
Yn llwyddiant yr Ysgol Sabbathol.

Amcanwyd ei hyrddio dros derfyn y byd,
A'i lladd yn ei gwendid boreuol,
Ond clod i'r Goruchaf mae'n aros o hyd,
Er gwaethaf ymdrechion y diafol,
Gorchfygodd bob gelyn mae heddyw yn ben,
Ac addyrn i Walia fynyddig,
Ac yn ei gogoniant yr erys heb len,
Gan eistedd ar sedd dyrchafedig.

Mae'r drws yn agored mae'n gwaeddi, O dewch
I 'mofyn am fara i'r enaid,
Mae croesaw iwch ddyfod, O deuwch bwytewch,
Mae'r cyfan yn rhad i fy neiliaid,
O deuwch mae'r nefoedd yn gwenu'n y gwaith,
Mae'r Duwdod ei hunan yn lloni,
Mae'n addaw mel cysur ar ddiwedd ein taith,
Ond gwneud iawn ddefnyddiad o honi.

Ysgolion mawreddawg y byd a gydgloir,
Ar ddiwrnod cynhaliad ein Hysgol,
Y diwrnod sancteiddiaf o'r cyfan a roir,
Yn ddiwrnod i'r Ysgol Sabbathol;
Ei dydd a neillduodd yr Arglwydd ein Duw,
Yn ddiwrnod i faethu yr enaid,
Pwy beidia a diolch a'i ysbryd yn fyw,
Am gariad ein Duw at drueiniaid.

Nid gweithiau Athronwyr Paganaidd y byd
Ddadlena yr Ysgol Sabbathol,
Neu'r Prif-feirdd Cenedlig roddasant eu bryd
I chwilio am bethau daearol,
Y Bibl ei hunan ddadlenir yn hon,
Y llusern i'r bywyd tragwyddol,
Cyduned pob enaid i ddwedyd yn llon
Un Jacob yw'r Ysgol Sabbathol.

Mae ynddi ddigymar Bellwelur y Gair
I wel'd y Jerusalem nefol,

A thrwyddo canfyddir yr Orsedd yn glir,
  A'r seintiau yn llu annifeiriawl,
A'r Iesu ei hunan yn eistedd yn ben,
  A'r euraidd delynau mewn bywyd,
Gogoniant y nefoedd a ddengys heb len,
  Y bythawl gartrefle dedwyddyd.

Os gweithiwn yn ddiwyd drwy ystod ein hoes,
  Yn unol a'i Llyfr bendigedig,
Cyrhaeddwn y Ganaan uwch gofid a loes,
  Cawn gwmni ein Crist croeshoeliedig;
Mae'n sefyll fel allwedd i wynfyd y nef,
  Mynegfys i wlad y goleuni,
Bywydfad i groesi'r Iorddonen ddofn gref,
  Awn drosti yn hwn gan ymloni.

Coronau cenedloedd paganaidd y byd,
  Oedd amlder eu duwiau eulunol;
Athenia a Rhufain gyfodent ynghyd
  I ddangos eu dawn areithyddol;
Daw Lloegr orenwog i ddangos mewn bri
  Ei gwrdd sefydliadau masnachol,
Oud gwir ardderchawgrwydd ein Cymru fach ni,
  A'i choron yw'r Ysgol Sabbathol.

---

# Pryddest

## AR YR HWYR.

---

Un o destynau Cylchwyl Lenyddol Bangor, 1857.

---

I wlad y gorllewin mae'r haul yn dynesu
  Fel cerbyd olwynawg gan hebrwng y dydd,
A myrdd o gymylau fel gosgordd o'i ddeutu,
  A'u mentyll porphoraidd yn gwylio beth fydd;
Y tanbaid belydrau sy'n dechreu gwanychu,
  Nid yw eu disglaerdeb yn gymaint yn awr,

A'r hwyrawl lem awel sy'n dechreu dadebru,
Mae golwg bruddglwyfus ar wyneb y llawr.

Y siriol laswelltyn o'i degwch sy'n gwywo,
Y lili brydferthawl ni edrych mor hardd.
Y rhosyn tryliwiawg sy'n dechreu edwino,
Mae gwywdeb i'w ganfod dros wyneb yr ardd.
Y Cestrum persawrus sy'n cau ei gwpanau,
Wrth golli yr huan, a'i olwg yn wyw;
A'r awel yn sisial yn lleddf drwy y cangau,
Fel pe yn ymofyn "a ydynt yn fyw?"

Y fronfraith a'r fwyalch o demlau y llwyni,
Ddiweddant eu cyngerdd ddifyrus yn awr,
A'r 'hedydd perleisiawl sy'n awr ar ddistewi.
O entrych yr wybren disgyna i lawr;
Ac yntau'r bronrhuddyn ymwna am ei gysgod,
Mewn perffaith dawelwch i dreulio ei "Hwyr,"
Y tônau melusion sy'n awr wedi darfod.
Diweddwyd cyngerddau y gwigoedd yn llwyr.

Draw, draw ar y doldir y diwyd amaethydd
Sy'n brysur yn gollwng ei wëoedd yn rhydd,
Y march sy'n gweryru yn fawr ei lawenydd,
'Nol darfod gor'chwylion lluddedig y dydd,
Ei feistr ddilyna nes cyraedd ei breseb,
Ac yno y treulia yr hwyrddydd yn llon,
Ac yntau ddychwela i'r ty mewn sirioldeb,
Llawenydd eistedda yn deg ar bob bron.

A'r forwyn ganfyddaf yn ysgafn ei chamrau,
Yn cychwyn i gasglu y buchod ynghyd;
Rhyw ganiad felusber ddaw allan o'i genau,
Gofalon y diwrnod alldudia i gyd,
Ynghanol y fuches clywch, clywch ei pher dônau
Yn adsain drwy'r meusydd, o fwyned ei chân,
Mae'r awel yn cludo ei melus ganiadau,
Mae'i chalon yn gynes, a'i meddwl ar dân.

Fel hyn y pynciai'r forwyn wyl
Ei miwail gân i Dduw mewn hwyl;—

"Er na feddianaf bethau'r byd,
Mae genyf olud nefol;
Fy hoff Waredydd yw fy rhan,
A'm gwobrwy annherfynol:
Os yw fy ngwisg a'm gwedd yn wan,

Mewn cyflwr egwan isel,
Caf wledda gyda'm Harglwydd cu,
A'm gwisgo fry fel angel.

Ar figyrnawg lethrau'r mynydd,
Safai'r bugail dewr ei hun,
Gyda'i braidd mewn gwir lawenydd,
Plentyn anian yw y dyn,
Yno cân y gwr yn bybyr,
Un o Salmau Edmund Prys,
Nes gwefreiddio telyn natur,
Idd ei wrando gyda brys.

'Yr Arglwydd yw fy mugail clau,
Ni âd byth eisiau arnaf,
A gorwedd gaf mewn porfa fras,
Ar lan dwr gloywlas araf.
Fe goledd f'enaid ac fe'm dwg,
'Rhyd llwybrau diddrwg cyfion,
Er mwyn ei Enw mawr dilys
Fe'm tywys ar yr union.'"

Ac yna cynulla ei ddefaid i'r gorlan,
I'w cadw rhag rheibus wylltfilod yr hwyr
Ei graffus ddefaidgi edrycha i bobman,
Pob congl o'i amgylch a chwilia yn llwyr,
Ac yntau a gluda yr wyn yn ei fynwes,
Yn dyner ac esmwyth, heb deimlo un cam,
Nes cyraedd y gorlan gauedig a chynes,
Pryd hyny gollynga bob oen idd ei fam.

Yntau'r gweithiwr gwargrymedig
Sydd yn cychwyn tua thref,
Mae ei olwg yn lluddedig,
Gweithiwr, gweithiwr ydyw ef;
Gwerthodd, do, ei rymus freichiau,
Ei chwys yn ddafnau eithaf prid,
Treuliodd nerth a grym cyhyrau,
Gwel ei wyneb darfu'r gwrid.

Caffael bara idd ei deulu,
Barodd iddo wneud fel hyn;
Atynt 'n awr mae yn dynesu,
Gwel ei fwth a'i furiau gwyn,
Dacw'i ddor yn gilagored,
Gwel ei wraig yn edrych drwy,

Dacw yntau iddo'n myned,
  I'w cymdeithas anwyl hwy.

Dacw gadarn deyrn y dydd
  Yn suddo i groth yr eigion,
Megis cawr lluddedig rhydd
  Ogwyddiad pen yr awrhon;
Hwythau'r rhuddawl gymyl draw,
  O'i amgylch yn galaru,
Gwrida'r eigion yn y braw,
  Mae'r dydd, mae'r dydd yn trengu.

Oesawl fryniau'r byd ymgodent,
  Fel ar flaenau'u traed yn awr,
I'r gorllewin braidd na thremiant,
  Ar ol i'r huan lithro i lawr;
Iachus chwaon ar eu llethrau,
  Sisialent gyda'r blodau blydd,
D'wedant hwythau mewn agweddau,
  Yn iach, yn iach i dad y dydd.

Mae'r tanllyd huan wrth ogwyddo'i ben,
Yn agor ini greadigaeth fawr,
Mae rhyfeddodau gwych y nefoedd hardd
I'w gwel'd yn amlwg gyda llygaid noeth,
Naill gysawd goruwch cysawd ini sydd
Yn dangos ei anfeidrol allu Ef;
A heuliau disglaer o aruthrol faint,
A myrdd o fydoedd llai o'u cylch yn troi.
Esgynaf fry yn ngherbyd pwylliant i
Graff sylwi ar weithredoedd mawrion Ior,
O'n daear fach drwy'r cyfundraethau af
Yn uwch, yn uwch nes cyraedd dorau'r drydedd nef,
Er gweled gwaith yr Hwn a roddodd fod
I'r heuliau tanbaid, ac i'r cydser fyrdd,
I grewr Sadwrn gyda'i modrwy fawr,
A'r holl blanedau,—Gwener gydag Iau,
A Mercher yn ordanbaid, a Mawrth a'i goleu rhydd,
Uranus yn y pellder fel am droi'r hwyr yn ddydd.
Er dringo o'r naill blaned fawr i'r llall,
Ac o un cysawd i uwch cysawd fry,
Ni welaf ond ei law anfeidrol Ef
Yn llywio'r greadigaeth fawr i gyd.
Rhy wan yw golwg gyda meddwl meidrol dyn,
I ddirnad dy weithredoedd mawrion di o Dduw!
Tydi yr hwn a'th Air a roddaist fod i'r oll

O'r bydoedd mawrion llachar welaf fi,
A'th AMNAID di yw rheol eu cylchdroau hwy.
Pob un o gylch ei briod ganol bwynt ei hun.
Tydi sy'n llywio'n daear fechan ni,
Gan roddi iddi ddydd a nos mewn trefn;
Tydi sy'n peri pan ymguddia'r haul,
I'r seren ddisglaer acw yn y gogledd fod
Yn lamp arweiniol idd y morwr dewr,
Pan gilia'r huan idd ei hunawl gell.

Y talbraff oleudy ar lan y mawr weilgi,
  Sy'n gwasgar goleuni i deulu yr aig,
Y morwr o'i weled a ddawnsia mewn yni,
  Gan wyliaw ei lestr rhag taraw wrth graig,
Goblyga'i brif hwyliau cyn dyfod o'r ddunos,
  A'i gan fydd "Awn adref, awn adref yn llon,
Cydganwn mae hafan ddymunol yn agos,
  Er gwaethaf cynddaredd ac ymchwydd y don."

Y lleuad arianaidd arglwyddes y nos,
  Ganfyddaf drwy odreu y cymyl,
Am wasgar ei llewyrch dros fynydd a rhos.
  Ymddengys fel pe yn ein hymyl;
Yn araf ymddyrcha goruwch i bob bryn,
  Gan arllwys ei disglaer oleuni;
Os collwyd yr huan caed gem wedi hyn,
  Gem werthfawr yw hon er ein lloni.

Pob planed, a seren, a lloer sy'n ymryson
  Am gael ein gwas'naethu yn angladd y dydd,
Ac fel am alltudio pob trymllyd ofidion,
  A rhoddi pob meddwl yn dawel a rhydd,
Mae natur bron gwenu rhwng cysgu ac effro,
  Gan rym eu goleuni, ond heb deimlo'u tes,
Er cryfed eu lleufer nid oes dyfiant iddo,
  Pan gollwyd yr huan fe gollwyd y gwres.

Yn awr mae distawrwydd i'w orsedd yn dringo,
  Gan erchi tawelwch drwy anian i gyd,
Ac yna ar amnaid mae'r eigion heb gyffro,
  Un wendon aflonydd nid oes ar ei hyd,
Mae'r gwynt wedi blino yn cario'r cymylau,
  Tawelwch deyrnasa,—un cynwrf nid oes,
Mae'r mwg yn dyrchafu i'r awyr yn dorchau,
  A natur yn cysgu heb deimlo'r un loes.

Trwst rhuglawg gerbydau ar brif-ffordd ni chlywir,
   Na march a'i garlamiad yn unman drwy'r fro,
Ond murmur yr afon wrth dreiglo drwy'r ddoldir,
   Yn sisial a'r cerig ar wely o rô;
Ac ambell i fachgen ysgafndroed yn rhodio
   Yn nghwmni ei Forfydd yn siriol a llon,
Y serch yn angerddol, a'r fynwes yn tanio,
   A gwasga ei fenyw yn dyner i'w fron.

Aml iawn y bydd y ddau
   Dan ryw goeden,
Gyda'u gilydd yn mwynhau
   Oriau llawen,
Adrodd holl helyntion oes,
   Weithiau'n twymno,
Ond diweddu'r oll heb loes,
   Byth yn digio.

Y gwyndarth sy'n nofio dros brydferth ddyffrynoedd
   Fel gortho eangfaith, nes cuddio pob glyn,
Ac hefyd yn hongian ar aeliau'r mynyddoedd,
   Ac weithiau'n ymsymud nes cuddio y bryn,
A'r gwyrddlas eginyn sy'n awr yn drwmlwythog,
   Y gwlithyn arianaidd sy'n plygu ei ben,
Fel pe yn ymgrymu i'w Dduw Hollalluog,
   Creawdwr a llywiwr y ddaear a'r nen.

Yr hwyr sy'n rhoi bywyd i'r llwynog ysglyfgar,
   A golwg llechwrus mae'n dyfod o'i ffau,
Cyfeiria ei rediad i blith y dof adar,
   Ac atynt yn gyflym mae ef yn nesau,
O! dacw y cadnaw yn dechreu cigyddio
   Yr ieir gyda'r gwyddau, a'r hwyaid yn llu,
Mae hwythau yn gweiddi mewn dychryn a chyffro,
   Nes cael atynt sylw preswylwyr y ty.

Ond cyn iddynt gyraedd i faes yr ymladdfa,
   'Nawr dacw y milyn yn cilio mewn trefn,
A dacw un bachgen yn syrthio mewn gwasgfa,
   Ei wydd ef ei hunan a wel ar ei gefn;
Er maint ei ddolefain fe chwardda y milyn,
   Gan herio medrusrwydd holl helwyr y fro,
I ddwyn ei ysglyfaeth, ac yna yn sydyn
   Ymgilio i'w loches, a'r ddaear yn dô.

Yr ysbail a renir yn eigion y ddaear,
   Ac yno fe welir y torllwyth i gyd;

Ymgomio a'i gydmar wna'r milyn ysglyfgar,
  A hwythau'r cenawon chwareuant ynghyd;
Ac yna cynlluniant yn llon wedi hyny
  Pa le y gwynebant yr hwyrddydd drachefn,
A chydymollyngant drwy'r ffau oll i gysgu,
  Yn berffaith ddigyffro yn ol eu hoff drefn.

A hithau ddallhuan o'r diwedd sy'n dod
  O'i cheubren gan ddechreu oerlefain,
Anedd-dy y clefyd a'r haint yw ei nôd,
  Ac yno y gawria yn gerain,
Fel meudwy unigol yn wastad bydd hon
  Yn gwibio o gangen i gangen.
Ei herchyll ysgrechau a draidd i bob bron
  Pan glywir hi'n gwaeddi mewn angen.

Ust! ust! clywch felus dôn
  O demlau'r osglawg lwyni,
A pheraidd fawl i'r Ion,
  A glywn o fysg y perthi,
Yr eos yno sydd a'i llais
  Yn chwareu telyn anian,
Mae'n teimlo dan ei bron ryw glais,
  Yr hwn a weithia allan.

O mor ddymunol yw,
  Cael bod yn gwrando arni,
Yn moli enw Duw,
  Gan felus, felus odli;
Prif organ ber y berth yw hi,
  Ei chathlau sy'n amrywiog,
Ac addysg mawr a rydd i ni,
  Yn ei chaneuon enwog.

O'r braidd na feddyliwyf fy mod
  Yn deall ei hodlau melusion,
Wrth eilio yn gynes ei chlod
  I'r Arglwydd am fawredd ei roddion,
"Nid ydwyf fi'n medi na hau,
  Fy Nuw i o hyd sy'n gofalu,
'Rwyf finau yn ymlawenhau,
  Gan ddiolch am hyny drwy ganu.

Ysgubor i gasglu ystor
  Ni feddaf,—er hyny'n ddieisiau,
Gorphwysaf ar haeledd fy Ior,

A phynciaf o blith y cangenau,
Pan fyddo cerddorion y llwyn,
Yn gorphwys 'nol darfod eu cydgan,
Dadganaf fy odlau yn fwyn,
Nes swyno telynau pefr anian"

Mor wahanol yw syniadau
Meibion dynion am yr Hwyr;
Mor amrywiol eu trefniadau,
At ei threulio,—Duw a ŵyr,
O'r fath gellwair, a'r fath bechu,
O'r fath loddest sydd drwy'r wlad;
A'r fath blygu at orsedd Iesu,
Gwaeddant yno ar eu Tad.

Fe dreulia'r boneddwr yr Hwyr mewn llawenydd,
Ynghanol y ddawnsfa yn siriol ei wedd,
Difyrwch a gloddest a gar efe beunydd,
A meib y gyfeddach o'i amgylch mewn hedd;
Y delyn fydd yno yn arllwys ei swynion
I'r cwmni gloddestgar nes gwefrio y lle,
A hwythau yn unawl yn sugno cysuron,
Ac un yn rhoi allan ei gan iddo fe,—

O mor ddifyr yw'r gyfeddach,
Ar hyd yr hwyr,
Nid oes le mewn bod amgenach
I dreulio'r hwyr
Cwmni llon oll o un galon.
Telyn fwyn a gwinoedd cryfion,
Gyda seigiau bras melusion,
Ar hyd yr hwyr.

Difyr, difyr yw ein cwmni,
Ar hyd yr hwyr,
Canwn, dawnsiwn, gan ymloni,
Ar hyd yr hwyr,
Pa'm y byddwn yn bruddglwyfus,
Pan yn yfed gwinoedd melus,
Pob peth sydd i'n gwneud yn hoenus,
Ar hyd yr hwyr,

Meibion galar ant yr hwyr
I'r mynwentau,
Yno treuliant hi yn llwyr,
Mewn gruddfanau;

Un uwch bedd ei anwyl wraig
Fydd yn wylo,
Bron na theimla cellau'r graig
Ddirgel gyffro.

Arall fydd uwch bedd y ferch
Fu'n ei garu,
Hyd nes darfu angau erch
Eu hysgaru:
Cangau'r Yw, ac yntau'i hun,
Yn cyd wylo,
Gwlych a'i ddagrau fedd y fûn,
Wrth ymado.

Milwr dewr cyn gado'i wlad,
Yn ei deulu,
Dreulia'r olaf hwyr yn llad,
I gusanu
Plant ei fynwes gyda'i wraig,
Gan ffarwelio,
Cyn gwynebu dros yr aig
I erch frwydro.

Heb ond gobaith gwan cael dychwel
At ei deulu hoff drachefn,
Plygai wrth yr orsedd uchel,
Gwaeddai "boddlon wyf i'r drefn,
Ac os cwympaf yn yr aerfan,
Bydd yn dad i'm plant tra'n fyw,
Ac yn dwr i'm priod egwan,
Ti addewaist hyn o Dduw,"

Difyr ydyw hwyr y gweithiwr,
Oddi amgylch tân o fawn,
Yno'n felus yr adroddant
Eu helyntion oll yn llawn;
Son am galed waith y diwrnod,
Son am eiriau chwerwon gaed,
Son am weithrediadau hynod
Yn y diwrnod hwnw wnaed.

Bydd Morfydd orlandeg yn gwau,
Ac Elen fûn hawddgar yn nyddu,
A Dafydd yn ymlawenhau
Wrth ddarllen "Gorchestion Beirdd Cymru."
"Af finau yn Brydydd fy hun,"
Medd Dafydd, "mor wired a'm geni,

Fe allai y deuaf yn un
  O'r dynion ystyrir yn gewri.

Astudiaf reolau y gan,
  Darllenaf holl weithiau'r prif awdwyr,
Nes rhoddi fy meddwl ar dan,
  Ac yfed eu hysbryd yn drylwyr,
Ap Gwilym, Goronwy o Fon,
  D. Ionawr, a Dewi Wyn enwog,
Geirionydd, ac eraill fydd son
  Am danynt drwy'r byd yn flodeuog."

Daw Arthur a'i chwedl drachefn,
  A'r gwr fel rhyw frenin yn gwrando,
A hono aiff drosodd mewn trefn,
  A phawb mewn rhyw hwyl yn ymgomio;
A phan ddaw yr hwyrbryd i'r bwrdd,
  Bydd pawb yn y bwthyn yn barod,
Pryd hyny gostegir y twrdd,
  Gorphwysant o lafur y diwrnod.

Rhoddwn drem i fwth y Cristion,
  I'w weled ef yn treulio'i hwyr,
Yno gwelwn bawb o galon.
  Yn iawn dreulio hon yn llwyr;
Maetha'r gwr y plant yn ddiwyd,
  Yn nghyfiawnion eiriau'r nef,
Nefoedd fach er pob rhyw adfyd,
  Yw ei fwthyn anwyl ef.

Ysgol Jacob welir yno,
  A'i phen yn cyraedd fry i'r nef,
Engyl Gwynfa arni'n gwrando
  Ar ei ddwys ymbiliau ef;
Cludant mewn costrelau cariad
  Ddagrau'r gwr mewn teimlad byw,
Wrth gyflwyno'i hun a'i deulu,
  Drwy y nos i ofal Duw.

Bu hwyr bythgofiadwy yn ngardd Gethsemana,
  Pan chwysodd ein Prynwr y "dafnau o waed,"
A thrwy ei erch boenau, a'i ing, a'i ddwys wasgfa,
  Adferiad dynoliaeth syrthiedig a gaed;
Distewodd yr erchyll daranau o Sina,
  Rhoes ffordd i bechadur gael maddeu ei fai,
Pwy beidia a diolch wrth gofio'r hwyr yma;
  Mae moroedd ei gariad yn para'n ddidrai.

Mal cwympa y bluen o asgell yr eryr,
  Pan ar chwim ebediad yn entrych y nen,
Y cwympa mawr leni'r tywyllwch drwy'r awyr,
  Gordoant y ddaear naill len ar ol llen,
Yr oesawl fynyddau o'n golwg a guddiant,
  Ni welir y rhaiadr er clywed ei ru;
Ceinderau mawr natur o'n golwg a guddiant,
  O olwg bruddglwyfus ail iddi ni fu.

# CAROL NADOLIG.

Tôn.—"Hoffder Owain Glyndwr."

O Dduw rho ryw awydd yn enaid marwolion,
  I uno eu cydgan ag engyl y nef,
Y rhai fu'n anthemu fod ceidwad i ddynion,
  Yn gorwedd mewn preseb yn Bethlehem dref,
Os canodd yr engyl am eni'n Gwaredwr,
  Faint mwy yw ein dyled ni lychod y llawr,
O laid llygredigaeth fe'n codir drwy'n Prynwr,
  Cyfiawnder a'r nefoedd sy'n gwenu yn awr.

Bu Sina yn arllwys ei drystfawr daranau,
  A'r ddeddf drwy yr oesau yn gwaeddi am waed;
Ond bellach caed heddwch i'r wyn a'r eidionau,
  E ddarfu'r cysgodau y sylwedd a gaed;
Y seren a welwyd gan Balaam o'r cynfyd,
  Sydd heddyw yn Haul y Cyfiawnder i'r byd,
Ac yn ei belydrau tanbeidiol mae bywyd
  I Adda a'i deulu syrthiedig i gyd.

O ryfedd ryfeddod, y Duwdod ei hunan
  Yn gorwedd yn blentyn mewn llety tylawd,
Yr hwn sydd yn llywio y nef a'i llu eirian,
  Yn gwisgo ein dyndod, a dioddef ein gwawd,
Ymgolli mewn syndod mae'r nefol gerubiaid,
  Wrth gynyg ar ddatgan am gariad Mab Duw.
Yn disgyn o'r nefoedd i blith pechaduriaid,
  A rhoddi ei fywyd dros holl ddynolryw.

Wrth ddilyn ei deithiau drwy wlad Palestina,
  O Dduw pa fath groesau a gafodd efe,

O'r llety llwm bregus yn Bethle'm Ephrata,
  I fynydd Calfaria nes marw'n ein lle,
Ei erlid a'i gablu er maint ei arwyddion,
  A wnaeth yr Iuddewon yn greulawn a chroes;
Pysgodwyr tylodion fu iddo'n gyfeillion,
  Rhyw wr dirmygedig fu'n Iesu drwy'i oes.

Yn ngardd Gethsemane bu ef yn gweddio,
  A'i chwys yn defnynu yn waed ar y llawr,
Ond gwaddod y cwpan a yfodd ef yno,
  Sy'n fêl i'r ddynoliaeth syrthiedig yn awr,
A chusan bradychwyd ein Iesu dihalog;
  Cymerwyd ef eilwaith at Pilat i'w lys,
Ac yno fe'i barnwyd fel adyn yn euog,
  A dedfryd marwolaeth roed arno ar frys.

Ei groesbren a gariodd i fynydd Calfaria,
  Ac arni bu farw i ninau gael byw,
Pwy beidia a chanu wrth gofio'r gwaith yma,
  Caed ffordd i bechadur ddychwelyd at Dduw;
A daear Judea a rwygodd ei dillad,
  Ar adeg croeshoeliad Gwaredwr y byd,
Daeargryn arswydus a rûodd ei farwnad,
  Mewn gorchudd o alar bu'r haul ar y pryd.

Ystyria bechadur er maint dy drueni,
  Fod bywyd i tithau yn angau y groes,
At orsedd trugaredd anturia mewn gweddi,
  I erfyn maddeuant o feiau dy oes,
Mae'r Iesu trugarog a'i freichiau yn barod
  I'th dderbyn di druan i'w fynes mewn hedd.
O gwrando di heno ar lais dy gydwybod,
  Rhag ofn byddi foru yn barod i'r bedd.

## CAN—CYMRU.

Tôn—"Llwyn Onn."—Cyflwynedig i'r Penrhyn Slate Quarry Harmonic Society.

O Gymru anwylaf o'm calon fe'i caraf,
  A'r llenyrch lle treuliais foreuddydd fy oes,—
Ei gwylltion fynyddau uchelgrib a hoffaf,
  Eu llethrau a ddringais heb ofid na loes;
Mae rhyw arddunolrwydd yn uthredd ei chreigiau,
  Yn gwneud i'm eu caru nas gwn i pa fodd;
Cofleidio eu gilydd wna'i moelydd a'i bryniau,
  Fel gwelir y plentyn a'r fam wrth eu bodd.

Wrth edrych i fynu i'w banawg fynyddau,
Ei llynoedd godidog sy' i'w gwel'd yn mhob cell,
Aberoedd grisialaidd, a thrystfawr raiadrau,
I'w gwel'd fel colofnau rhewedig o bell;
Ar hyd ei doldiroedd—afonydd dolenawg,
Ar dreigliad gwastadol i fynwes yr aig,
Ac weithiau wrth ddisgyn dros lethrau ysgythrawg,
Mewn mawr gynddeiriogrwydd gwnant gawgiau o'r graig.

Dinasoedd bywiogawl sy'n hulio'i dyffrynoedd,
A thlysion bentrefydd yn hulio pob bryn;
Bythynod gwyngalchiog ar eiliau'i mynyddoedd,
A themlau Jehofa yn harddu pob bryn,
Ysgolion Sabbathol—colegau'r trigolion,
Allweddau i'r nefoedd yn ddiau ynt hwy;
A Gair Duw a daenir drwy hon gan ei weision,
Pa wlad dan y nefoedd a'i breintiau yn fwy?

Mae rhuad y fagnel i glustiau y Cymro,
Yn hollol ddieithr tra'n sangu ei wlad,
Na chleddyf ysglyfgar i erchyll gigyddio,
Na bidog lemfiniog i lunio'r un brad;
Ond heddwch gwastadol drwy hon sy'n teyrnasu,
A chorff yr holl genedl yn frodyr un fryd:
O Gymru! O Gymru pwy beidia a'i charu,
Pa wlad yn ail iddi o wledydd y byd.

Hi fagodd ei dewrion yn ymgyrch y cadau,
Wynebent i'r frwydr er trymed y tan;
A beirdd fu'n dyhidlo eu melus fwyn odlau;
Arwyddair fy Nghymru yw "Rhyddid a Chan."
Wel hoffed a fyno frasdiroedd Amerig,
Australia gyfoethog a'u mawredd a'u bri,
Rhyw fwthyn gwyngalchog ar lethrau mynyddig
Hen Gymru cartrefle yr awen i mi.

---

## CAN

## YSTYRIAETH AR DDIWEDD BLWYDDYN.

---

Tôn—"Ar hyd y Nos."

---

Ow! mae adwyth codwm Eden,
Yn dal o hyd,
Nid yw'n bywyd ond fel niwlen,
Yn hyn o fyd;
Dengys blwyddyn ar ol blwyddyn,

Fod ein hoes yn prysur ddirwyn,
Bydd yn fuan yn y terfyn,
Rhaid gado'r byd.

Heddyw gwelwn lan wynebau,
A'u siriol wedd,
Oll yn nwyfus eu calonau,
Mewn hyfryd hedd,
Ond cyn diwedd blwyddyn eto,
Faint o honynt ellir rifo,
Wedi angau du eu cwympo
I ddistaw fedd.

Mae'r gormesdeyrn yn teyrnasu,
Mewn rhwysg a grym,
Gwna i'r beilchion uchel blygu,
A'i gleddyf llym,
Hen ac ieuangc, gwan a nwyfus,
Gwympa i lawr wrth ei ewyllys,
Gwna dyrfaoedd yn adfydus,
A'i gleddyf llym.

Cwympa angau'r dynion doniol,
Er maint eu gwerth,
Tery hwy a'i gledd yn farwol,
Er maint eu gwerth,
Pen coronog fel cardotyn,
Rydd yn fwyd i bryf y dyffryn,
Taro mynwes pawb a dychryn,
Wna angau certh.

Cyttundebau'r byd ddatoda,
A'i gleddyf llym,
Megys dyfroedd fe'i gwasgara,
A'i gleddyf llym;
Ond mae cysur pur i ninau,
Pan yn morio drwy y tonau,
Iesu dynodd golyn angau,
Er maint ei rym.

Nid yw mwyach ond negesydd
I blentyn Duw,
Gwysia'r saint i fro'r llawenydd,
Byth gyda Duw;
Ond i'r annuw mae'n ddychryndod,
Hyrddia hwy i dan diddarfod,
O ymdrechwn fod yn barod
I fyn'd at Dduw.

DIWEDD.

# CYNWYSIAD.



*Bethesda: Argraffwyd gan R. Jones.*

# PRYDDESTAU

AR

# WAHANOL DESTYNAU,

GAN

ROBYN WYN O EIFION.



BETHESDA:
ARGRAFFWYD DROS YR AWDWR, GAN R. JONES.
1855,

# RHAGYMADRODD.

---

Fy Nghydwladwyr Caredig,—

Wrth gyflwyno hyn o Farddoniaeth i'ch dwylaw, dymunwyf i chwi ddeall mai nid rhyw synied uchel am eu teilyngdod a'm cymhellodd i'w hargraffu, ond ar gais lluaws o'm cyfeillion. Dymunir ar y craff a'r gwyntyllwr beidio a bod yn greulon wrthynt, gan gofio mai llafur y *gweithiwr* ydynt; a bod y rhan fwyaf o honynt wedi eu cyfansoddi wrth lewyrch y ganwyll.

Gobeithiaf y dangoswch eich caredigrwydd i hyn o lyfr trwy ei brynu; yr hyn, hyderaf, na fydd yn niwed i chwi, ond y gall fod yn lles

I'ch Gostyngedig

A'ch Annheilwng Wasanaethwr

ROBYN WYN O EIFION.

# CYNWYSIAD.

---

# PRYDDESTAU, &C.

## Pryddest

AR

## HAELIONI ARGLWYDDES LOUISA PENNANT.

Un o Destynau Cystadleuol Cyfarfod Llenyddol Bangor, Ion. 1, 1855.

Barnwyd y Bryddest hon yn teilyngu y wobr.

HAWDD hudo y Beirddion at *Morfudd* ac Elen,
Duwiesau eu traserch, myfyrdod yr awen,
I son am eu *glendid*, eu *gwallt*, a'u hwynebau,
A'u lluniaidd gyrff gwisgi—prydferthwch yr oesau.

Ond beth ydyw harddwch neu ffurfiad gwynebpryd
Wrth galon haelfrydig i'r tlawd yn ei adfyd?
Rhy ofer i'r awen yw tywallt ei moliant
Ar flodau gwywedig, ar drothwy diflaniant;
Caed testyn rhagorach, a mwy cysegredig,
Sef llunio "cân *folawd*" i *fun* ddyrchafedig;
Yr hon mae ei chalon yn allor tosturi,
A'i gwreichion *wasgara* yn deg eluseni.
Aelwydydd y tlodion gan hon a siriolwyd,
Yn nyfnder y gauaf, fe'n tyner gynheswyd.

Gwaith ofer yw myned at borth yr athronydd
I geisio esboniad manylgraff a chelfydd
Ar ystyr haelioni—ARGLWYDDES LOUISA,
A ddyru esboniad mewn teg amddiffynfa:
Ei mynwes gysegrwyd i gri y dinodded,
A'i phenaf hyfrydwch yw estyn ymwared
I bawb mewn caledi, llawenydd ei chalon
Yw porthi'r amddifaid, a noddi y gweddwon;

Nis gall ei mwyn deimlad ar angen byth sylwi,
Na'i dwyfron dosturus, heb ddangos haelioni.

Aml foreu cymylog yn nghanol yr Hydref,
Ei chamrau gyfeiriodd, draw, draw tu a chartref—
Y weddw bryderus, a'i lluaws blant llwydion,
Rhai'n llymaidd eu cefnau, a'u cylla yn weigion.
O! 'r weddw ddigalon, mae'n adfail tylodi,
A drych ei gwynebpryd rydd brawf o'i thrueni,
Yn mysg ei phlant egwein, a'i chalon bryderus,
Yn ofni du wyneb y gauaf ystormus;
I lawr yr eisteddodd, do, ganwaith i wylo,
Ar aelwyd ddu oerllyd, heb dân i ymdwymno;
A'i meddwl a lyncwyd gan ddwys fyfyrdodau,
Mewn pryder a gofal y treuliai nosweithiau;
Gwel'd gauaf yn agos, a hithau'n ddiallu
I wisgo'i phlant bychain, a'u cynes ddilladu;
Ond ofer ei phryder.—Na, na, dacw galon,
A dacw wir allu i dori'n hanghenion
"Arglwyddes Louisa sy'n prysur ddynesu,
Mae gobaith yr awrhon i'r du gwmwl chwalu:—
Clywch sibrwd gorlawen y galon oedd gynau
Yn neuadd anobaith a'i dost ddirdyniadau:—
"Pa beth yw rhagofal, neu bryder gormodol,
"Mae Un sy'n llywyddu ar bethau tymorol,
"Mae'n gweled ein hangen, medd hefyd genhadau,
"Gall agor eu calon i dori ein heisiau;
"Y boreu pan ydoedd y gwyll a'r goleuni
"Yn ymladd a'u gilydd, a'r nos yn dihoeni,
"A minau yn wylo yn effro fy hunan,
"A'm dagrau yn golchi tlws wyneb fy maban—
"Yn ofni gwel'd natur yn agor ei llygaid,
"A minau heb allu i dori'i angenrhaid:—
"Fy anwyl blant bychain, fy mhethau tylodion,
"Hwy gysgent yn esmwyth mewn difyr freuddwydion,
"A minau yn cyfrif y prysur fomentau,
"Gan wylio dan ochain lwyd wyneb y borau:
"Ond ha! yn lle ofni y dydd disgwyliedig,
"Fe'm siomwyd yr awrhon, mae'n ddydd bendigedig;
"Mae troed ar y trothwy, mae mynwes haelionus

"Ar ddyfod i'm bwthyn â chalon dosturus;—
"Llonyddwch deimladau, a dagrau llawenydd,
"Ymgiliwch am enyd,—fy mynwes bydd lonydd;
"A chwithau 'mhlant anwyl—ei phen a ysgydwodd.
"Ust, ust, byddwch ddistaw, 'r Arglwyddes ddynesodd,
"Mae'i llaw ar yr rhag-dor, a'i hynaws forwynion
"A welais drwy"————————
Ar hyny cyn gorphen o honi hi draethu,
Teimladau ei chalon i'w hanwyl fân deulu—
Arglwyddes Louisa a ddaeth i'w llwyd fwthyn,
Ac aml drugaredd oedd yno i'w dilyn;
A'i gweled bob amser rydd wrid o sirioldeb
Ar ddwyrudd plant angen—llawena eu gwyneb,

Fel hyn, pan ymwela a'r weddw ddinodded,
Bydd hyny ei hunan yn fyd o ymwared.
Gwrthbanau gyfrana i'w tyner gynhesu,
A'r glo yn dunelli i filoedd wna ranu;
Siriola fwthynod y diwyd lafurwyr,
Gwobrwya ddiwydrwydd y gwrol chwarelwyr;
Dillada y noethion, clud wisga'r anghenog,
A'i hoffder yw porthi y truan newynog;
Am ddiwrnod ymwelodd ag ochrau Llanllechid,
Gan estyn trugaredd i'r tlawd tan ei ofid;
A thlws blwyf Llandegai, glyn Saron Eryri,
A lonodd hi ganwaith drwy'i helaeth haelioni.
*Diwydrwydd*, *Darbodaeth*, a *glendid* teuluaidd,
Yw hoffder ei chalon, cefnoga'n wresogaidd
Bob rhinwedd lle bynag y gwelo hwn yno,
A'i hael elusenau y gwna eu gwobrwyo;
Ei chalon drugarog ddych'myga haelioni,
Drwy ffurfio aml "*glybiau*," ar gyfer tylodi.
A Phont-y-twr deimlodd haelfrydedd ei chalon;
Bethesda brydferthwyd â'i thyner deg roddion—
Henafgwyr diallu o gylch Capel Currig,
A'r gweddwon ganmolant ei rhoddion haelfrydig—
Hen bobloedd dylodion yr ardal, bob blwyddyn
O'i llaw elusenaidd, cardodion wnaent dderbyn.
Yn brydlawn y gwasgar hi 'i theg elusenau,
Er dirfawr lawenydd i bawb fo mewn eisiau.

Cyn gwisgo y Garnedd ei gwenwisg am dani,
Cyn gwynu copaoedd mynyddoedd Eryri,
Cyn hulio llechweddau migyrnog bro Pentir,
Cyn geni y llwydrew ar wyneb y doldir—
Eu blaen a achuba,—gorweddfa'r tylodion
Gynhesa hi'n brydferth â'i gwerthfawr gardodion;
A'r cefnau oedd gyneu yn nôd i'r trwm oerni—
Corwyntoedd yr Hydref a'i ddeifiol galedi;
Eu carpiau ysgydwai yr hwyrol awelon,
A'u gwrid a ysbeiliodd yr oerllyd hin greulon;
Ond ah! yn lle carpiau, ein henwog Arglwyddes,
A ddyru heirdd wisgoedd tra buddiol a chynes;
Y bachgen fel oenig a naid o lawenydd,
A'r eneth amddifad, sy'n falch o'r wisg newydd;
Y wlad a'i bendithia, a dinas fawr Bangor
Gyduna i'w moli nes tanio pob goror;
Clogwyni Eryri chwedleuant ei chlodydd,
A'r Ogwen a'u hetyb o waelod y dolydd.
Un noswaith y weddw a'i bychain heirdd unig
Gydunant ei molawd ar hwyr-ddydd Nadolig:
Fel hyn yr ymdorai eu caniad aelwydaidd—
Eu *carol* difyrus i'r *Fam* Elusenaidd:—

O! mor fwyn, fy mhlant caredig,
Ar hyd y nos,
In' eleni yw'r Nadolig,
Ar hyd y nos.
Llawer gwaith y bu'm yn crynu,
Wrth wel'd gauaf du yn nesu;
Ond fy ofnau droed yn ganu,
Ar hyd y nos.

Yn lle oerfel i'n hanrheithio,
Ar hyd y nos—
Aelwyd lân, a thân i ymdwymno,
Ar hyd y nos.
Dowch fy mhlant a'ch mwyn benillion
I'n Harglwyddes o un galon;
Mae ei henw'n tanio'n dwyfron,
Ar hyd y nos.

Rhoes y glo,—mor dlws yw'r aelwyd,
    Ar hyd y nos;
Pawb o honom a gynheswyd,
    Ar hyd y nos,
Do, rhoes ini fwy na hyny,—
Gwrthbanau heirdd i hulio'n gwely;
Ni faidd oerni mwy ein drygu,
    Ar hyd y nos.

Hawdd yw canu i'n Harglwyddes,
    Ar hyd y nos;
Nid oes iddi un gydmares,
    Ar hyd y nos.
Hon a drydd y gauaf oerllyd,
In' yn adeg fwyn a hyfryd:
Symud wnaeth ein poen a'n hadfyd,
    Ar hyd y nos.

Dillad, lluniaeth, er llawenydd,
    Ar hyd y nos,
Roddes in' at erwin dywydd,
    Ar hyd y nos:
Ni raid ofni'r Calan wyliau,
Na'i ferwinol hin yn ddiau—
Oerni du, a'r trwm gawodau,
    Ar hyd y nos.

Difyr i'n fel hyn yw canu,
    Ar hyd y nos,
Glod ein hoff Arglwyddes wiwgu,
    Ar hyd y nos.
Tra bo'r Castell, ac Eryri,
Tra bo ton yn chwyddo'r weilgi,
Bendith nef ddisgyno arni,
    Ar hyd ei hoes.

Felly'r weddw a'i hanwylion,
Ddyblant eu per ganig dlos;
Llonder brwd a losgai 'u calon,
Yno'n llon ' ar hyd y nos;'
Gefn y nos, mewn mwyn freuddwydion.

Canai'r plant nes deffro'r fam;
Hithau wed'yn a gydganai—
Aeth y carol bach yn fflam.

Fel hyn mae ei chlodydd yn enyn pob mynwes;
Pob bwthyn a lenwir gan adsain ei chlod;
Prif destyn y siarad yw'r dyner Arglwyddes,
Nid oes ei hanwylach drwy Gymru yn bod.
Nid darpar y gwisgoedd i gludo y cefnau,
A gwisgo 'r traed noethion yn unig a wna;
Nid estyn yr ymborth i'r truan mewn eisiau,
Ac anfon y gostrel at wella y cla'.

Na, na, hi a ddarpar ar gyfer y meddwl,
Gan roddi Ysgolion i blant yr holl fro.
Cyfrana yn helaeth, ymrodda yn gwbwl
I wasgar dysgeidiaeth yn helaeth i'r to
Sy'r awrhon yn codi hyd lethrau Eryri;
Myn godi dynoliaeth i'w safon ei hun,
Myn roddi dysgeidiaeth i blant y chwareli,
Gan deilwng gydnabod "fod enaid mewn dyn."

Myn fagu athronwyr meddylgraff fel *Bacon*,
I olrhain holl anian a'i deddfau di ri';
Ac uchel seryddwyr fel Herschel a Newton,
Y rhai a ymgodant i uchder a bri.
Pwy wyr na cheir eto ryw deg Arfonwyson,
I syllu o uchel glogwyni ein gwlad;
A'i dalent i synu ein treiddgreiff seryddion,
Gan godi hen Walia i uchel fawrhad.

Llawenydd ei chalon yw maethu dysgeidiaeth,
A meithrin talentau mân blant yr holl wlad;
Hi gynal ysgolion â'i chyfoeth ehelaeth,
Er taenu gwybodaeth, mewn uchel fawrhad:
Myn wneuthur Eryri yn Athen hyglodus,
A'i lluaws blant tlodion yn ddoethion yr oes,—
Yn addurn y genedl mewn enw mawreddus,
I rodio ffyrdd rhinwedd, yn ddillyn eu moes.

Yn fynych'r ymwela a'r lluaws ysgolion,
I deilwng wobrwyo eu llafur a'u dysg,

Gan wasgar traethodau, a llyfrau tylysion,
Ac yno fel mamaeth eistedda yn mysg
Y bechgyn iachusol, a'r llednais enethod,
Y rhai a ymgrymant o'i blaen gyda moes;
Difyrwch ei chalon a fydd eu cyfarfod,
A'i phleser yw meithrin beirdd egin yr oes.

Bob blwyddyn anrhega y plant â gwledd enwog—
Yn Nghastell y Penrhyn, derbynir y llu,
Ac yno fe'u llenwir â seigiau godidog,
A darpar bob moddion i'w lloni yn gu;
Ac yno y lluaws fel wyn a chwareuant;
Ni fu 'r fath lawenydd yn unman erioed.
Hwre! i'n Harglwyddes, yn fynych a roddant,
A swn eu gorfoledd ymchwalai drwy'r coed.

Ond ofer yw dechreu, prin, prin gallwn nodi
Rhinweddau'n Harglwyddes, a'i helaeth haelioni.
Bendithion y weddw a'r rheidus, a ddisgyn
Mewn moliant a diolch ar deulu y Penrhyn;
Ei henw sy'n anwyl gan ddirif henafgwyr—
Ei henw fawrygir gan fyrdd o'r chwarelwyr—
Bugeiliaid y cymoedd, ar benau'r clogwyni,
Ber eiliant ei molawd nes siglo y llethri;
A'r plant o'r gwaelodion atebant eu caniad,
O barch i'n Harglwyddes, nes tanio ein henwlad.

Ei henw anwylir gan bawb drwy'r ardaloedd,
A'i hil a fendithir tra dyrch ein mynyddoedd
Eu bauog glogwyni i fro y cymylau.
Tra'r heulwen yn llwybro trwy'r maith eangderau—
O deulu i deulu, o oes i genhedlaeth,
Y treiglir ei henw mewn bri ac uwchafiaeth;
A'i hael elusenau a geir iddi'n gofion,—
Colofnau ei rhinwedd, i'r lluaws tylodion.

Boed iddi hir einioes i wneuthur daioni,
A'i dyddiau a fyddo'n ddiofid o hyd:
A chaffed deg hir-oes i wisgo penwyni;
Ac yna pan byddo ar 'madael a'r byd—

Doed gosgordd ysblenydd o gedyrn angylion
I'w chyrchu hi adref i ddinas y Nef;
Ac yno mewn urddas caiff wisgo y goron,
A chanu'r ber anthem am byth Iddo Ef.

---

# PRYDDEST AR NAOMI.

---

AR hwyr rhyw ddydd, difyrus ddiwrnod teg,
Dwy fenyw lesg ymrodiai'n araf deg—
I bentref tlws ar derfyn *Moab* wlad,
Orweddai ar gyffiniau *Juda* fad:
Ar lethr y bryn, chwareuai'r bugail gân,
Nes swyno o'i ol y diadelloedd mân;
Hyd danau 'i *Delyn*, rhedai 'i fysedd cain,
A cheinciai dôn o ryw nefolaidd sain:
Gostegai'r awel,—tawai hon a'i chan,
I wrando'r alaw ber o'i danau man.

Mewn gwelltog faes ar fynwes dyffryn hardd,—
Addurnol wyneb fel blodeuog ardd,
Y *laeth-ferch* iach berorai ganig dlos,
A'i hemyn mwyn ogleisiai fryn a rhos;
A'r adar man yn llysdy gwyrdd y dail,
A chwyddai'r gan, ni chlywid gynt ei hail.

Pryd hyn yr haul is godreu cwmwl pell,
A welid draw ar drothwy 'i nosawl gell;
Ei olaf belydr ar y goediog fron,
Arliwiai'r gwellt yn dlos olygfa lon,
Ei hwyrol wên addurnai'r bannog drem,
Gan wisgo'r tiroedd gydag aur a gem:
Darfyddai'r dydd a'r nos oedd yn neshau,
Heneiddiai'r dwyrain draw gan ymbruddhau;
Ac yno mawr ymdynai'r ddwy yn mlaen,

O gylch eu llwybr, rhosynau oedd ar daen;
Gwir, cryn wahaniaeth rhyngddynt oedd yn bod,
Mewn *hoender, glendid,* a *chydmarol* oed,—
Edrychai *un* ag olion adfyd prudd,
A'i ddwylaw wedi rhychu 'i llyfndeg rudd,
Yr hwn tebygid a fu gynt yn hardd,
Fel rhosyn tlws, neu deg flodeuog ardd;
Y llygaid bywiog fu'n pelydru serch,
Gan ofid llechant mewn pantleoedd erch,
A'r llesg aelodau oeddynt gynt mor chwim,
Trwy ddirfawr boen yr ymsymudant ddim;
Yn mraich y llall, yn araf, cerddai'n wan,
Yn llesg a blin i'w cyfeiriedig fan.

A'r *llall*, oedd fenyw bur ddifreg,
Yn harddaf un, yn llawn prydferthwch teg;
Addfwynder mewn rhyw ostyngedig fri,
Addurnai ei hawddgarol wyneb hi,
Ei llygaid glwys ad-daflent swynol serch,
Yn lanaf *fûn* rinweddol, foesol ferch;
Sidanaidd wallt fel aur gudynau'r wawr,
A lithrent dros ei theg ysgwydda'i lawr.

Ond tebyg iawn, galarwisg wisgai'r ddwy,
Yn arwydd galar ac angeuol glwy',
Am ryw berthynas gladdwyd yn y bedd,
A'u gofid dwys, am dano draetha'u gwedd;
Dan gyd-och'neidio, 'r ddwy ymdynai'n mlaen,
Nes cyrhaeddasent at ryw lwydaidd faen,
Ger min y ffordd, eisteddent yno'i lawr,
Er ysgafnhau, o'u lludded trymllyd mawr.

Nid oedd i'w lloni, ond murmurawg nant,
Swn ffrwd yn treiglo trwy iselaidd bant,
A dwndwr pell y pentref bychan oedd
Yn taro'u clust, a'r ber fugeiliawg floedd;
Alawai'r gwynt, chwareuai nosawl gerdd,
I'w lloni'n fwyn, ar gangau'r goedwig werdd;
Ond eto'r nos, neshai, yn nes o hyd,
A thaena'i mantell dywell, dros y byd;

Pryderent am gael llety clyd,
I orwedd dros y nos ynghyd;
Ond pan ofidient yn eu braw,
Hwy weleut ddyn, yn dyfod draw,
Megys un yn rhoddi tro,
Trwy yr hardd flodeuog fro;
Ymddifyrai yno'n fad,
Yn mhrydferthwch llawn y wlad.

O gam, i gam, yn araf iawn,
Fe ddeuai trwy yr oror lawn,
A draw cyfeiriai yn ei flaen,
Hyd at y ddwy oedd ar y maen:
Dieithr-ddyn oedd, a ddaeth i fyw,
O'r Aipht, i'r eirian oror syw;
A'r ddwy gyferchid ganddo'n llon,
Ei wên a esmwythai eu bron;
Fel hyn llefarai wrth y ddwy,
Pob gair oedd falm i wella'u clwy;—
"O! wragedd hoff, ai dwy ddieithriol y'ch?
Yn mysg estroniaid, ar ryw hirbell daith;
Gan ofid, sefwch, megys cywir ddrych;
Eich gruddiau tybiaf, sydd gan ddagrau'n llaith,
Mae ôl rhyw adfyd caled yn eich gwedd;
Ac arwydd llesgedd,—codwch, dewch yn mlaen,
Mae'r nos gerllaw, i'ch rhan ni ddigwydd hedd,
Wrth eistedd yma ar yr oerllyd faen;"
Ar hyny'r ddwy, godasant ar ei gais,
A chydsyniasant, a'i ddyngarol lais.

Cymhellai iddynt lety clyd,
Os deuant gydag ef;
I huno'n dawel yno 'nghyd
Dan nodded Ior y nef;
A'r ddwy a godai nawr yn llon,
Dan wenu arno'n gu;
Diolchus deimlad lanwai'u bron,
Cyfeirient at y ty.

Ac yno fe'u derbyniwyd hwy,
Mewn modd caredig iawn,

A chawsent groesaw, fwy na mwy,
A phob ymgeledd lawn;
Ar ol mwynhau'r garuaidd wledd,
Dechreuodd gwr y ty,
Eu holi'n fwyn, a llon ei wedd,
Yn fanol am a fu—

Am eu cenedl, am eu teulu,
Am eu taith, ac am eu gwlad,
Am eu helynt, a'u helbulon,
Ei ofynion ydoedd fad;
Ond pan 'roedd ar ddechreu holi,
Llithrai deigryn dros ei grudd*
Ac fe chwyddodd poen ei mynwes,
I ofidus alar prudd.

*Naomi

Ag ochenaid drom dechreuai,
Dagrau'n ffrwd a lifa'i lawr,
Cyfnod cyfyng ar deimladau,
'R hoff Naomi, fu yn awr;
Prin y gallai ddechreu adrodd,
Ei gofidus, chwerw daith;
Wylo trymllyd a'i hataliodd,
Er ymgynyg lawer gwaith.

Chwerwon ddagrau breision draethent,
Ofid calon benyw gu,
Ail-agorwyd y teimladau,
Chwerw deimlad iddi fu;
Yno wed'yn ail-ddechreuodd,
Prin y gallodd dd'weyd ar g'oedd;
Pawb o'r teulu braidd, a wylent,
Dagrau'n llon'd eu llygaid oedd.

Arafodd ei dagrau, ei theimlad lonyddodd,
Yn mlaen yr âi eilwaith, fel hyn y llefarodd,—
"O! *Westwr* caredig, myfi ydwyf weddw,
Fy mhriod cariadlon, och! och! a fu farw!
A minau'n alltudes, o'm bro yn dihoeni,
Fy ngofid a'm teimlad, pwy all ei fynegi?
Mae meddwl am adrodd fy hanes adfydus,
Yn ddirfawr orthrymder i'm henaid wylofus.

Y Gwestwr ar hyny, a geisia'i dyddanu,
Cysurodd ei chalon, fel hyn gwnai lefaru,—
"Arafed dy ddagrau, O! weddw alarus,
Canfyddaf dy gyflwr, yn wir dorcalonus,
Atolwg, os gelli gan wylo, a'i ormes,
Nyni a wrandawwn yn astud, dy hanes;
Mae'th helynt yn deilwng o'n sylw manylaf,
Mae gwedd dy wynebpryd yn tystio, tebygaf.

Ar hyny, Naomi, dan grynu, mewn dagrau,
Adroddodd ei hanes, mewn drylliog deimladau;
Fel hyn y llefarai, gan brudd ocheneidio,
A'i dagrau dros rychau'i gwynebpryd yn treiglo;—
"Deng mlynedd! deng mlynedd, i'r adeg bresenol,
Ymledai y newyn tros Canaan ddymunol;
Adgofio y cyfnod, a'i farwol effeithiau,
Sy'n llosgi fy nghalon, fe lwydodd fy ngruddiau,
Fy mhriod a minau, a'n bechgyn prydweddol,
Hwynthwy oeddynt brydferth, mewn tlysni gwanwynol;
A'n bydol sefyllfa, 'nol trefniad rhagluniaeth,
Feddianem i'n cysur, yn deg etifeddiaeth;
Ynghanol ein brodyr, rhwng llethrau iach Bethl'em,
Tlos lanerch ddigymar,—nid nepell o Salem;
Ein maesydd toreithiog, oedd lwythog bob blwyddyn,
Ychydig feddyliem, y'n delid â newyn;
Ond yno rhagluniaeth y nefoedd a wgodd,
A'r newyn anaele, ein gwlad a feddianodd,
Ei effaith gyrhaeddodd bob gradd a sefyllfa,
Ymledodd, ymledodd tros Fethl'em Ephratah,
A ninau fel teulu deimlasom oddiwrtho,
Prinhaodd ein hymborth, gwnai newyn hylldremio;
Pob gobaith am gysur teuluaidd ddiflanai,
Y newyn a'i effaith, yn awr a'n brawychai;
Os troem ein golwg i'r maesydd eangfaith,
Och! yno, nid oeddym yn gweled un gobaith,
Gwyrddlesni y llysiau yn llwyr yno gollwyd,
Pob llanerch fu brydferth, gan boethwres a gochwyd;
Pob coeden edrychai fel un yn dihoeni,
Ataliwyd pob gwlithyn rhag iddo'i sirioli;
Pob coedwig edrychai yn llwm a diflodau,

Un ddeilen ni welid i harddu'r cangenau;
Agenodd y ddaear, gan syched am gawod,
Ond eto, ni welid un arwydd yn dyfod;
Yr awyr hylasol, oedd noeth heb gymylau,
Bu farw pob cwmwl trwy'r holl eangderau;
Yr wybren danbeidiol oedd bron yn ymfflamio,
Pob awel a deimlem oedd megys yn deifio,
Pob pelydr i'r heulwen oedd ail i wres mellten,
Yn cochi'n ddifaol amgylchoedd daearen;
Aberoedd sychasant, a deifr yr afonydd,
Yn llwyr ddiysbyddwyd rhwng dyfnion geulenydd;
Y milod a lefent yn lleddf a digalon,
A'r praidd a fu feirw hyd waelod bro Saron;
A ninau fel teulu, byth cofiaf yr enyd,
Bron cael ein hanrheithio gan newyn dychrynllyd;
Heolydd ein dinas a huliwyd a meirwon,
Ac eraill yn llefain gan boen eu coluddion;
Babanod yn gorwedd ar fynwes eu mamau,
Yn haner trancedig, gan newyn ac eisiau;
Dolefau angeuol a lenwai bob bwthyn,
Pob heol ro'i engraifft ofnadwy o'r newyn!
Fy mhriod hoff, anwyl, O! mhriod, O! mhriod,
Y funud bresenol rwy'n cofio'r diwrnod;
Yn mlaen pan y'n galwodd i gydymgynghori,
Pa beth oedd i'w wneuthur yn nrych y trueni,
Ni glywsom fod llawnder yn Moab, pryd hwnw,
A son am y llawnder a dynodd ein sylw!

Ac yna casglasom ynghyd,
Y cyfan oedd genym heb dreulio,
Gordristwch a lanwai ein bryd,
Ar ganol y prysur ymfudo;
Ein calon a losgai fel tan,
Wrth ganu yn iach a'n perth'nasau,
Rhy anhawdd oedd canu "iach gân,"
Wrth gychwyn o hen fro ein tadau.

Ein dagrau a lithrent i lawr,
A lleithent y ddaear agenog,
Byth cofiaf y funud, a'r awr,
Y cefnais ar Bethl'em hoff serchog;

Ychydig feddyliais yn wir,
  Yn nwndwr y *mudo* a'r berw,
Mai dychwel yn ol i'r hen dir,
  A wnawn yn *amddifad* a *gweddw!!*

Ar wiredd yr hanes, nyni
  Deithiasom i Moab doreithiog,
A gwelsom mai llawn ydoedd hi,
  O bob peth i'n gwneud yn galonog,—
Ei meusydd oedd orlawn o ŷd,
  'N ymdoni o flaen yr awelon,
A'i daear yn brydferth i gyd;
  Ei dolydd oedd wely y meillion.

A ninau yn hoenus bob bron,
  Yn llawen fwynhaem ei chysuron;
Ein meddwl oedd ddifyr a llon;
  Ni'n blinid a dyrys helbulon;
Ein hawyr oedd ddisglaer a mad,
  A'n heddwch oedd dawel a hyfryd;
Difyrus teithiasom y wlad,
  Yn nghanol Dedwyddwch bob enyd.

Ond och! gyda hyny fe ddaeth
  Rhyw gwmwl yn orlawn o dristyd,—
Hoff briod fy mynwes yn gaeth,
  A rwymwyd yn nghadwyn afiechyd;
Rhoes angau ei wysiad ar waith,
  Ac arno argraffodd ei ddelw—
Prysurodd i derfyn ei daith,—
  Ffarweliodd!—ac yna bu farw!

A ninau fel teulu i gyd,
  A ddaliwyd a thristwch gresynol,
Ein teimlad ar hyny o bryd,
  Ni ddeall ond teimlad profiadol:
Cym'dogion caredig a ddaeth
  I hebrwng ei farwol weddillion;
Fe'i rhoddwyd dan briddell yn gaeth,
  I orphwys yn rhandir marwolion.

A ninau yn llwydion ein gwedd,
  Yn araf ddilynem yr elor,
I'w hebrwng i 'stafell y bedd;
  Pob calon oedd bron ag ymagor.
Och! edrych ar gladdu fy ngwr
  Yn nghanol bro estron, pa deimlad
All ddeall fy ngofid am dwr?
  A thad fy nau blentyn amddifad.

Ac yno 'nol talu pob parch
  I'w farwol weddillion sy'n huno;
Boed ysgafn y pridd ar ei arch,
  Boed leddfus pob awel i wylo;
Boed gwyrddlas y gwellt ar ei fedd,
  Ac hidled y duon gymylau
Eu dagrau tryloewon mewn hedd,
  Yn enaint i'w fedd trwy yr oesau.

Yna daethum tuag adref,
  'N araf deg, o gam i gam,
Gan ro'i mhwys yn mreichiau mechgyn;
  Hwy dosturient wrth eu *mam*;
Ac 'nol cyraedd hyd ein hanedd,
  Tristwch, mewn llythrenau du,
Oedd gerfiedig ar y muriau;
  Mangre galar oedd ein ty,

Amser, wed'yn, araf wisgai,
  Ymaith treuliai tristwch prudd,
Ond ymddaliai hiraeth ynof,
  Cadwai ddeigryn ar fy ngrudd;
Mynych ciliwn lawer diwrnod,
  At y bedd i ddweyd fy nghwyn;
ELIMELECH hunai'n dawel!
  Gwlychwn fedd fy mhriod mwyn.

Yna mechgyn briodasent
  Ddwy o heirdd lancesau'r wlad;
Teimlwn inau 'chydig seibiant,
  Ar ol colli 'u hanwyl dad!
Daeth tawelwch i fy meddwl,

Ail siriolodd gwawr fy oes,
Teimlwn hiraeth braidd yn darfod,
Bu hyn yn eli at fy loes.
Ond och! pa fodd bellach y gallaf fi adrodd
Fy hanes gofidus?—Ar hyny hi wylodd,
A'r llances garedig, sef Ruth, a'i dilynodd—
Mewn llewyg ddirdynol, y ddwy a lesmeiriodd!

Pa dafod all adrodd gordristwch eu calon,
Rhy anhawdd desgrifio eu trymllyd och'neidion;
Ond ebrwydd dadebrodd o'r ddirloes lesmeiriol,
A sychodd ei dagrau a'i napcyn henafol:
A thôn ei lleferydd newidiodd yr awrhon,
I isder gorbruddaidd, mewn lleddfus och'neidion;
Ac ail ddechreuodd ar ei hanes prudd,
A deigr 'nol deigr yn llithro dros ei grudd.
"Ond och! pan dybiais fod tawelwch oes,
Yn dod i'm rhan, i esmwythau fy loes—
Fy meibion hoff, a'u gwragedd tyner cu,
Oll oeddynt lon, heb ddisgwyl tristwch du;
A hiraeth prudd, yn angof aeth ei boen,
A chefais ail fwynhau rhyw siriol hoen;
Fel rhyw wanwynaidd gyfnewidiol ddydd,
Y gwena'r haul heb gwmwl ar ei rudd:
Ond cyn prydnawn, anurddid anian lon,—
Ymdduai'r wybr, och'neidiai'n brudd ei bron,
Cyfodai 'storm, ymgiliai tlws wrid nen,
A'i gwychedd oll dan ryw gaddugawl len.

Ac felly bu fy nhynged drymllyd I,—
Fy meibion hoff, ar hwyr rhyw ddydd a ddaeth,
I'w hanedd gled; O! ein wylofus gri,
Pan ddeallasom fod rhyw farwol aeth,
Yn llechu, och! yn eu hawddgarol wedd;
Y ddau a frwydrent gydag angen llym;
Hawdd darllen erchyll ddychryniadau'r bedd
Yn nglesni 'u trem, 'r oedd yno farwol rym;
Ac yn ei afael suddent dan wanhau,
A buan, och!—Bu farw!—do y ddau!!

A chladdwyd hwy yn meddrod du eu tad,
Yn Moab draw, yn nghanol estron wlad;
A chofio'r tri sy'n huno yn eu bedd,
Sy'n lladd fy nghalon wan,—yn llwydo ngwedd.
Y llygaid dysglaer fu'n pelydru serch,
Dywyllwyd, do, dan ddwylaw angen erch;
A'r gruddiau teg, mor welw y'nt yn awr;
Eu gwrid a gollodd yn y ddaear lawr.

Eu bedd cyn imi fyn'd o'r wlad,
Eneiniais â fy nagrau,
A'u gado yn y beddrod caeth,
Oedd imi'n waeth nac angau.

Wrth ganu'n iach, ni chlywais neb
Yn ateb fy ymbiliau;
Ond pawb yn dawel yn y glyn,
Yn mreichiau tynion angau.

Eu cofio hwy i mi yn awr
Sy'n ddirfawr ofid calon.
Y bedd! y bedd sy'n peri braw,—
Gwlad ddistaw brudd y meirwon!

Ti weli hoff Westywr cu,
Nad ydwyf fi ond adfail,
Sydd yn gogwyddo i byrth y glyn;
I angen af yn ysbail.

Anmhosibl imi fod yn llon,
Bu nghalon farw'n barod;
A chartre'm meddwl yn mhob gwlad,
Sy'n wastad yn y beddrod.

A'r fenyw weli gyda mi
Sy'n weddw i un o'm meibion,
Sef gwraig i Chillion f' anwyl fab,
Un arab ei ragorion.

Ac heddyw y bore, myfi a gychwynais,
O Moab, O Moab am byth arni cefnais.

Ond yno mae llanerch, boed wyrddlas y llysiau,
Ddynodant y beddrod yn un o'r mynwentau.
Efallai'r anghofir gorweddle y meirw
Gan deulu gwlad Moab; ond nid ânt o sylw
Fy meddwl trwmlwythog sy'n wastad yn syllu
Uwchben yr oer feddrod lle huna fy nheulu:
Ond eto mae angen yn galw i'm ddychwel
Yn ol i fy ngwlad—i Bethl'em hoff dawel.
Draw clywais yn Moab i'r Arglwydd ymweled
A'i bobl etholedig, gan roddi ymwared
Iddynt, trwy atal y newyn difaol;
A llwytho eu meusydd ag ydau ddigonol;
A'm dwy waudd gariadus, sef Ruth a'r fwyn Orpah
A ddaethant i'm hebrwng hyd brif-ffordd gwlad Judah;
Ac yno cyngorais y merched mewn dagrau
I ddychwelyd yn ol i fynes eu mamau;
Dymunais ar wenau y nef ar eu llwybrau,
I'w dilyn, ddwy anwyl, hyd derfyn eu dyddiau;
Tosturied y nefoedd, gan agor diangfa,
A'r Duw mawr fo iddynt yn deg amddiffynfa.
Ac yna cusanais y ddwy,—ac wylasant,
A'u llefau ymlynol mewn serch a'm dilynant;
A d'wedent, diameu i Israel dychwelwn;
Tydi ein mam anwyl! byth mwy a ganlynwn.

Yna troais tuag atynt;
Ymresymais gyda'r ddwy,
I ddychwelyd yn eu holau;
D'wedais nad oedd iddynt mwy—
Unrhyw obaith trwof bellach—
Nad oedd gobaith meib i mi,
Iddynt byth, yn wyr i'w disgwyl,
Ferched hoff, dychwelwch chwi.

D'wedais wrthynt am fy nhristwch,
A'r anheddwch i fy mron,
Oedd o'u plegyd hwy yn barod,—
Yn fy llethu 'r ydoedd bron;
Hefyd gwelais law yr Arglwydd
Yn fy erbyn o'u rhan hwy;

Ac anogais hwy yn daerach,
Am i'r ddwy ymadael mwy.

Ac yna'r ddwy gyd-ddyrchafasant lef,
A'u dwylaw'n estynedig tua'r nef;
Ac yno Orpah ganai'n iach a mi;
Rhoes gusan im', ac yna 'n ol 'r aeth hi!

Ond Ruth, y fenyw hon,
A lynai'n ddiwyd,
Er goddef tristwch bron,
Ni wnai ddychwelyd:
Anogais hithau'n fad,
I ddychwel 'n ol i'w gwlad,
Fel Orpah i dy ei thad,
Ond cryf afaelyd.

Gafaelai yn fy llaw,
A'i heilltion ddagrau,
Yn traethu pwys ei braw,
Yn uwch na geiriau :—
"Nac erfyn arnaf mam
I droi yn ol un cam,
Na ! byth nid ydwyf am
Dy ado'n ddiau !

P'le bynag y troi di,
Y trof finau,
A'r lle lletyech di,
Lletyaf finau;
A mwy, dy bobl di,
Fydd hefyd bobl i mi,
A'th Dduw yr hwn sydd fry,
Yn Dduw i minau.

Ychwanegodd air yn mhellach,
Buodd daerach arnaf fi;
A dywedodd lle gwnai farw;—
Marw ! a'm claddu fynaf I;
Ac fel hyn y gwnelo'r Arglwydd,

A chwaneged, os oes dim,
Rydd ysgariaeth rhyngom mwyach,
Ond yr angau mawr ei rym."

Ac yna pan welais ei bod yn ddiysgog,
I'm dilyn yn ffyddlawn drwy'm teithiau blinderog,
A didwyll ymroddiad ei meddwl o burdeb,
I'm dilyn fel gweli, hyd ddu-fwlch marwoldeb;
Ac yna mi beidiais â'm geiriau ei themtio
I ddychwel i Moab,—ond awn yn ddiymdro
I anwyl fro 'm tadau yn foreu y foru;
Nyni a ddychwelwn,—mae'm calon yn crynu
Wrth feddwl myn'd yno,—O ! 'r dirif adgofion
Ymrithiant yr awrhon o flaen fy ngolygon;
Ond gwell im' ymatal er mwyn fy nheimladau;
Pob adgof sy'n agor ffynonell fy nagrau,
A dyna, O *westwr*, grynodeb o'm bywyd:
Mae'n hawdd iti ddirnad y croesau a'r adfyd
A gefais hyd yma, ond hwyrach mai dafnau
A gefais yw'r cyfan o'r duon gymylau
Sydd eto yn hofran uwch ben y dyfodol
O weddill fy nyddiau; ond gwyr yr Anfeidrol
Pa faint yw cynwysiad yr hyn sydd yn dyfod;
Efe a wyr fesur y cwpan a'r gwaddod,
Am hyny dymunaf ei gymorth i'm nerthu
I dreulio y gweddill, a pheidio grwgnachu."

Ar hyny, hi dawodd, gan ollwng ochenaid,
Fel cywir esboniad o deimlad ei henaid;
A'r teulu y naill ar y llall a edrychent,
A hanes Naomi yn fwy, fwy ryfeddent.

Daeth amser i orphwys, aeth pawb i'w orweddfa,
A chawsant hun dawel dan nodded Jehofa;
A Ruth a Naomi gysgasant yn union,
Tra 'u meddwl yn crwydro mewn difyr freuddwydion;
Hwy gawsent orphwysfa i'w nhatur luddedig,
A chwsg yn lle loesion teimladau rhwygedig.

Y nos a ymgiliodd, daeth boreu tlws eto,
A natur yn gwenu rhwng cysgu ac effro;—

Ni chollodd ei thlysni, mae oll yn ysblenydd,
Lliw tranoeth ymloewai uwch porth teml y wawrddydd;
Mae'r haul ar ymesgyn i'w gerbyd tanbeidiol,
Yn fuan fe welir y teyrn mawr wybrenol;
Tlws wrida y dwyrain o flaen ei fawrhydi,
Gan chwareu pelydrou wrth esgor goleuni;
A brithion gymylau hyd awyr y nefoedd,
A welir o amgylch fel dirif ynysoedd;—
Ail lonodd holl natur, fe giliodd ei galar,
Llawenydd adseinia amgylchoedd y ddaear;
Pob gwlithyn o natur oedd brudd llawn o ddagrau,
A olchodd yn brydferth wynebpryd y llysiau,
Y rhai a anurddwyd y diwrnod blaenorol,
Wrth ymladd â'r awel a'r poeth wres difaol;
Daeth awel,—Dadebrodd y llysiau blodeuog,
Agorent eu llygaid yn brydferth a gwridog;
A'r tlysion rosynau chwareuent a hithau.
Ymsiglent nes colli gwlith-berlog goronau;
Pob bron a edrychai yn brydferth ac iesin,
Fel pe buasai natur gan falchder yn chwerthin;
Fel hyn pan oedd anian yn dangos ei gwyneb,
Ac arni'n gerfiedig ryw ddwyfol sirioldeb.
  Naomi ddihunodd, ymgiliodd cwsg ymaith,
Ac wele yr ydoedd yn hyfryd foreugwaith;
A Ruth fel llaw-forwyn ofalus a thirion,
Oedd yno yn gweini i'w chwegr ei chysuron;
Ei serch ydoedd gref, nid gormod oedd ganddi
Wneud pobpeth a allai er cysur Naomi;
A'r teulu yn ebrwydd i fynu godasant,
A phawb at ei orchwyl yn awr brysurasant;—
Ai un i barotoi boreufwyd cysurus,—
Dangosent bob croesaw i'r merched galarus,
Ac yna eisteddent i lawr a bwytasant,
Ac yno 'nol darfod, pob un gyfodasant,
A Ruth a Naomi yn foesgar eu hagwedd,
Ddiolchent i'r teulu am gael yr ymgeledd.
Mor dirion a thadol, fel mam y bendithiodd
Y teulu, ar hyny y ddwy ymadawodd.
Cyn myned yn neppell canfyddent heirdd lethrau,
A rhei'ny yn frithion o'r addfed rawn sypiau :

Nid ydoedd *le* amgen na Bethle'm hoff swynol;—
Rhyw lanerch ysblenydd o'r Ganaan ddymunol;
A chalon Naomi oedd bron ag ymagor,
Pan gyntaf y gwelodd ond cwr yr hen oror,—
Ei mynwes ymchwyddodd rhwng llonder a hiraeth,
Yn rhin yr olygfa, er dirfawr wahaniaeth
Oedd arni'r pryd hwnw, wrth *ddydd yr ymfudo,*
Pan ydoedd y newyn yn prysur anrheithio
Gorwychder ei meusydd,—yn difa ei cheinion;
Gan losgi arwyneb ei daear hyfrydlon.
Yn awr fe ymrithiai rhyw fyrdd o adgofion
Am amser a fu, o flaen ei golygon.

Wrth fyned draw rhagddi, i Ruth y dangosai
Hynodion gwlad Canaan,—â'i bys y cyfeiriai
At fanau bu ganwaith yn nyddiau 'i hieuenctyd,
Yn rhodio ar hyd-ddynt yn llawen ei hysbryd;—
Ei sylw gyfeiriai draw at ei dinasoedd,
A'r tyrau goruchel yn tremio i'r nefoedd;
A'i meddwl gyfeiriai at Dduw mawr ei thadau,
Gan sylwi ar ei ffyrdd a'i briodoleddau,
Yr hwn ydoedd Arglwydd a Chrewr holl anian,
Ac awdwr pob gwrthrych a welai yn mhob man;
Rhoes 'chydig o'i hanes yn arwain ei thadau
O'r Aipht trwy y mor, gan nodi eu teithiau,
A'r golofn a'r cwmwl, eu nawdd, a'u harweinydd,
A thrigiad y llwythau 'n y Ganaan ysblenydd.
Fel hyn y ddwy deithient, a phwnc eu lleferydd
Oedd son am yr Arglwydd, eu Dwyfol Gynhalydd.
Cyn hir cyraeddasant ryw dalfryn llysieuog,
Yr hwn a wisgasid gan natur gyfoethog;
Ac yno Naomi a godai 'i golygon,
A gwelai dref Bethl'em yn brydferth a thirion,
Ei mynwes ar hyny gan alar a chwyddodd,
Ei gwyneb a wridodd, a'i chalon lesmeiriodd,
Dan grynu, yn ebrwydd ar lawr yr eisteddodd;
*Un* olwg ar Bethl'em yn llwyr a'i gorchfygodd;—
Ei meusydd toreithiog mewn addfed ber adeg,
A welai yn llwythog o ffrwythydd tra cheindeg;
Yr haidd ydoedd addfed,—ymwynai pob t'wsen

Yn barod i'r cryman, a'i phen ar ei chorsen.
Canfyddai y diwyd fedelwyr drwy'r meusydd,
A'u miniog grymanau'n gweithio'n ddieilfydd,—
Yn medi yr heiddiau melynwyn addfedol,
Ac eraill yn rhwymo'r ysgubau cynhafol,
Ysgogent yn fywiog, yn feib a gwyryfon,
A brithid y cyrau gan ddiwyd dylodion;
Yn rhin yr olygfa, Naomi ymlonodd,
A'i chalon ddychlamai, fel hyn y llefarodd :—

"Ust! gwrando Ruth dyner," llefarai Naomi,
"Clyw, clyw, dyna dônau gwlad Israel yn wir,
Mor llawen yw'm teimlad, mae'm calon yn llosgi,
Wrth wrando 'i pher fiwsic yn goglais ei thir.

"Clyw ! clyw, dyna'r durtur yn chwyddo ei anthem,
A'r 'hedydd yn chareu ei folawd uwch ben;
Mae adlais yr ednod o amgylch tref Bethl'em,
Mor beraidd i'm teimlad a thonau'r nef wen.

"Clyw ! gwrando wyryfon gwlad Israel yn canu,
Mae'u lleisiau yn swynol, a'u miwsig yn gain,
Eu hodlau melysber, wna'r galon ddychlamu,
Prudd deimlad a chwelir, mae nef yn eu sain.

"Mae'n ddifyr i'n eistedd ar fron mor lysieuog,
  Am ddyddiau'n ddilynol, mor dyner a mâd,
I wrando plant anian a'u lleisiau ardderchog,
  A syllu mor ddifyr ar wyneb y wlad.

"Ond gwell i ni godi, cychwynwn fy ngeneth,
Os gallwn cyrhaeddwn, awn yna er pobpeth,
Efallai y cwrddwn yn rhyw gwr o'r ddinas,
A rhai o'm hen deulu, rhyw serchog berthynas;
Awn yna nac oedwn, mae'n well ini godi,
Mae cariad yn nghalon plant Israel yn llosgi;
Tosturio erioed, ydyw llais eu teimladau,
Cei weled tosturi cyn hir atom ninau;
Ti glywaist fy ngeneth, eu melus ganiadau,
Yr hyn ydoedd awgrym o'u cynes galonau,
A buan cei weled eu mwynion delynau,

A chlywed y miwsig o'u tyner ber danau;
Nid ydoedd a glywaist, ond awgrym lled isel,
O adlais ber swynol, telynau plant Israel;
I lawr ni ddisgynwn, O! f'anwyl wlad dirion,
Rwy'n caru dy ddaear, O! Fethl'em hyfrydlon."

Ac yna codai'r ddwy yn awr,
Oddiar y llawr i fynu,
Ac wed'yn aent yn brudd eu bron,
A'u calon bron gloesygu;
Yn mlaen, yn mlaen, bron codi'u llef,
Cyrhaeddai'r ddwy i gwr y dref.

Safasant yno'n awr yn syn,
Pryd hyn r'oedd eu teimladau,
Bron a'u gorthrechu, dan ei bwys,
Gollyngent ddwys ochneidiau;
Cychwynai'r ddwy o gam i gam,
A Ruth gynhaliai fraich ei mam.

I gof Naomi, megys saeth,
Y daeth rhyw annedd yno,
Yn 'rhwn preswyliai ynddo gynt,
Cyn helynt yr ymfudo;
Ac ato'r aeth yn drist ei phryd,
Cyfeirient at 'r hen annedd glyd.

Ac ar gwr yr heol canfyddodd ei furiau,
Y lluest y treuliodd, do, ddifyr flynyddau;
Celfyddyd a drwsiodd ei anwyl hoff feini,
Ond meddai uwch swynder i'w harddwych goroni;
Canfyddai'r hoff riniog, bu gynt arno'n eistedd,
Tra'i bechgyn diniwed o'i hamgylch yn unwedd;
Chwareuent yn wisgi yn nyddiau'u plentynrwydd,
Eu campau mabolaidd, yn oed diniweidrwydd;
Canfyddai'r ardd wridog, yn dlos wrth ei dalcen,
A'r ffrwythau yn gwenu yn ngwyneb yr heulwen;
A gwelai y lili, a rhos, yn cyd-chwareu,
Is bônau y gwinwydd a'u haddfed rawnsypiau;

Rhodfeydd prydferth yr ardd, a wisgwyd a thlysni,
A thyfai o'i hamgylch rosynau a lili.

Fel hyn pan yr ydoedd yn swynol ryfeddu,
Dechreuai'r trigolion o'i hamgylch ymdyru;
Yr henwr ddaeth allan o'i fwthyn tlws bychan,
Ymgasglodd i'w gweled bob gradd a phob oedran;
Ymholent a'u gilydd, Pwy? pwy yw y ddwy yma?
Edrychant mor lwydaidd, fel rhai o dan wasgfa,
Mae'u gwedd yn arwyddo rhyw farwol drueni;
Ond rhywun sisialai, "*Hon ydyw Naomi,*"
"Wel ïe yn ddiau," medd menyw oedranus,
A safai ynghanol y dyrfa gynhyrfus;
"Na, na," ebe arall yn hyf a diattreg,
"Nid hon yw Naomi, sef *gwraig Elimeleg,*
'Roedd hono yn fenyw brydweddol, llawn tlysni,
Ac ar yr holl ferched yn tra mawr ragori;
Mewn glendid per-hudol edrychai ei gruddiau,
Yn addurn i anian o dan y rhosynau."
Ac felly dadleuai o dan ryw amheuaeth,
Oherwydd fe welai ryw ddirfawr wahaniaeth
Yn ngwedd ei gwynebpryd; oblegyd cyn iddi
Ymfudo i Moab, ar bawb gwnai ragori,
Fel benyw hardd ieuanc, o agwedd brydweddol,
Ond 'n awr, mae yn edrych yn henaidd ryfeddol.

Ond ebe rhyw henwr, "ryw'n sicr o honi,
Er edrych yr awrhon yn adfail trueni;
O ddeutu deng mlynedd i'r dyddiau presenol,
Yn nyddiau y newyn erch, rheibus difaol;
'Rwy'n cofio ei gweled, ei *gwr* a'i *dau blentyn,*
Yn cychwyn i Moab o gyraedd y newyn!"
"Wel ie yn ddiau," atebent trwy'u gilydd,
"Hon ydyw Naomi," a gwiriwyd y newydd;
A'r hanes am dani a chwalodd drwy'r dreflan,
I glustiau'r trigolion mor gyflym a'r trydan;
A'r holl ddinas gyffrodd ar awr ei dyfodiad,
Bu cynwrf mawr drwyddi ar ddydd ei dychweliad;

Naomi deimlai yn yr adeg hon,
Ryw hiraeth dwys yn chwyddo'i thrymllyd fron,
Ymdreiglai'r oerchwys dros ei llwydaidd rudd,
A chrynai'i gwefus, gan ei gofid prudd;
Fel hyn llefarai mewn sisialaidd dôn;—
"Na elwch fi Naomi, tewch a son,
Rhy anmhriodol yw yr *enw* i'm,
Mae'n dwyn i'm cof *ryw* bethau gyda grym,
Am amser fu, difyrus fabaidd hynt,
Rhyw gryndod bair i'm gofio'r amser gynt;
Mae arall enw yn fwy teilwng, oes,
Mae'n gweddu'i ran fy ngorflinderog oes;
Siomedig fyd, llawn siomiant imi fu,
Nid oes uwch ben, ond cwmwl erchyll du;
Pob mwyniant, fel aderyn, draw a ffoes,
Ni welaf mwy ond chwerw ddiwedd oes;
A'm henw mwy fydd MARAH! dyna yw,
Ar ddyfroedd Marah r'wyf fi'n awr yn byw;
Yr Hollalluog, sy'n preswylio fry,
A wnaeth yn chwerw, chwerw iawn a mi;
Yn gyflawn aethum, do, o dy fy Nhad,
Ond Duw fy Ion, am dyg yn ol i'm gwlad
Yn wag, yn wag, am hyn na elwch fi
NAOMI! mwy ni pherthyn imi fri,
Fe'm darostyngwyd, och! dan ddrygfyd dwys,
A'm llethu mae, rwy'n suddo dan ei bwys."
Cyn myned yn mhellach gorchfygwyd Naomi,
Gan wylo anaele, a'i dagrau yn ffrydli';
Ymdrechodd cyn hyny i gladdu ei gofid,
Ond buan bradychwyd ei mynwes derfysglyd
Gan ddwys-drom ochenaid, yr hon a ddilynwyd
A galar ar alar, yn llwyr fe'i gorchfygwyd;
Ond buan dadebrodd, ail ymgydnabyddodd,
A mynwes plant Bethl'em yn gu a'i derbyniodd,
Ac iddi trefnasant gynhaliaeth gysurus,
A bwthyn tra phrydferth ar lanerch olygus.
Ychydig ddeallodd Naomi, ar lwybrau
Rhagluniaeth y nef, trwy ei dyrys flin deithiau;
Ond Duw a reolodd bob cam, a phob gweithred.
Dyrysodd Naomi wrth 'mofyn ymwared:

Ond pwy ydym ni, rhy fyr ein golygon,
I ganfod rhagluniaeth a'i dyrys faith droion;
Ei law anweledig, er hyny a wyliai
Bob cam, ac ysgogiad, yn fanwl fe'i trefnai.
Yn ymdaith Naomi i wlad y Moabiaid,
Cyflawnwyd bwriadau y Duw mawr bendigaid;
Oddiyno do, cyrchwyd o blith y Cenedloedd,
I undeb ag Israel, 'nol arfaeth y nefoedd;
A Ruth fe wnaeth Boas, do. ran Cyfathrachwr,
Iddi bu'n briod, Naomi gadd noddwr;
A'r cyfan lywyddwyd gan law y Iehofa,
Caed cadwyn gysylltiol yn âch y Messia,
Er uno'r cenedlodd, a'r genedl Iuddewig,
Er symud pob rhagfarn a gwarth dirmygedig.

A diwedd Naomi fu'n dawel a hyfryd,
I'w rhan y daeth cysur yn ddylif heb adfyd;
Fel hwyr-ddydd tawelog, 'nol bore ystormus,
Ei hoes a ddiweddodd yn hollol gysurus.

---

## PRYDDEST AR "Y MOR."

Y Fuddugol yn Eisteddfod Treforis, 1854.—'Y mor mawr llydan, yno y mae ymlusgiaid heb rifedi." Sal. 104. 25.

---

Ah! weilgi llydanfawr, o'r tryblith boreuol
  Y rhuthraist ti allan ar alwad yr Ior,
Ufudd-dod a delaist i'w air uniongyrchol,
  Ac iti rhoes enw arhysbys "Y MOR."
Yn swn y gair "Bydded," dy donau cynddeiriog
  O ddofn groth diddymdra, ymruthrent ger bron;
Mewn rhwysg ti a gasglwyd i'th wely tywodog,
  Ac yno ar amnaid, llonyddodd dy don.

Ac iti rhoes ddeddfau, 'rhai gedwi'n rheolaidd,
  Dy drai a dy lanw fydd ffyddlawn bob pryd;
A'r Lleuad wen-felen, o'i gorsedd arianaidd,
  Fel mamaeth ofalus i siglo dy gryd;
Dy halltaidd wyrdd-ddyfroedd ysgogant yn wastad,
  Ti 'th buri dy hunan, rhag magu drwg sawr,
Ac hefyd ymgedwi'n dy wely eangfad,
  Rhag chwalu yn ddiliw a boddi y llawr.

Dy feithder diderfyn sy'n hwy na'r ddaearen,
  A'th ddyfroedd osodwyd yn wregys i'r byd,
Dy donau ewinog amgylchent y belen
  Y trigwn ni ynddi,—pwy ddeall dy hyd?
Er cymaint dy ymchwydd, dy falchder ostyngir
  Gan erchwyn dy wely, mae'n gadarn a chref,
Sef tywod disylw, rhwng hwn y'th gadwynir,
  Gan law HOLLALLUOG, Creawdwr y nef.

Wyt ynot dy hunan yn fyd o amrywiaeth,
  Tylwythau digyfrif, a feddi o'r bron;
Y gemawg bysg bywiog, o rym a maintiolaeth,
  A welir yn hwylio ar frigau dy don;
Y morfil mawreddog fel ynys symudol,
  A'i anadl or-rymus a ferwa dy li',
A thonau'r dyfnderau derfysga'n aruthrol,
  A'i emau yw balchder goruchel ei fri.

Wyt dadmaeth aberoedd, a'r trymion gymylau,
  A welir yn nofio trwy froydd y nen;
Pan bydd yn sychedig, afonydd a llynau,
  Tydi a'u diodi trwy'th weision uwch ben;
Agori'th drysorau, a'r ddaear wywedig
  A welir yn gwenu trwy'r llysiau a'r dail;
Ymweli a'r ddaear, trwy'r cwmwl crwydredig,
  Addurni y maesydd a golwg ddi-ail.

Y Duw mawr, wasgarodd ar hyd dy faith wyneb,
  Ynysoedd amryfath, yn mhell uwchlaw rhif;
Cenhedloedd afrifed a'u llanwa mewn gwiwdeb,
  A therfyn eu cartref y gwelir dy lif;
Er hyny ti elli trwy'th ddirfawr hynawsedd,

Eu gwneud yn gym'dogion a'u hyfryd leshau,
Trwy gario eu llongau, y mae dy haelfrydedd
Yn haeddu ei foli, a'i uchel fawrhau.

Cei air da trafnidiaeth am i ti hwyluso
Rhwydd-rediad masnachaeth; marchogir dy ddyfn
Gan gestyll godidog, sef llongau diymdro,
Pan byddi yn gwisgo dy wyneb yn llyfn;
Mawr gyfoeth a gari o leoedd pellenig,
Yn mhob amrywiaethau, llesoli y byd;
Lle chwala dy ddyfroedd ar berlau puredig,
Lle trenga dy donau, dan ganu ynghyd.

Ond canmil mwy llesol yw'th donau brigwynion,
Pan byddant yn cario trysorau y ne';
Y Bibl i bagan, a garia y wendon,
I eithaf pellfaoedd Ynysoedd y De;
Wyt megys gwas ufudd i holl gymdeithasau
Daionus a ffurfiwyd dan fendith y nen,
I brysur hyrwyddo lledaeniad terfynau
Hoff deyrnas yr Iesu, yn Arglwydd a Phen.

Y Pagan yn nghanol pelldiroedd gwyllt Affrig,
Pan bydd yn ymgrymu wrth orsedd yr Ior,
A ddiolch am danat mewn iaith enynedig,
Prif fater ei weddi fydd *diolch am fôr;*
Dy donau mynyddig a gariodd y llongau,
Fu'n llwythog o eiriau tragwyddol y nef,
A thros dy wyrdd wyneb y daeth y cenhadau,
Pa ryfedd y mola mor felus ei lef.

Ond beth pe dynoether dy ddyfnder ofnadwy?
A gwel'd dy guddleoedd, ysbeilydd y byd;
O'r dirif drysorau a ddygaist trwy ofwy,
Oddiar y dewr forwr, drwy'r oesau o hyd,
Dy ogofâu erchyll, i'r rhai'n sugndynaist
Aml lestr ysblenydd fu'n rhwygo dy don,
A llefau y morwr mewn gwawd ddiystyraist,
Cyd chwerddaist a'r corwynt yn ingoedd ei fron.

Ti ruthraist o'th garchar yn ddiliw dialgar,
A boddaist fyd cyfan, ond teulu'r Tad No;

Dy donau gwallgofus orchuddiodd y ddaear,
  Pob bryn a phob mynydd, pob dyffryn a bro,
Ac hefyd heb arbed, dros brydferth ddinasoedd,
  Y gain *Gantre'r Gwaelod* y rhuthrodd dy li,
Gan gladdu heirdd dyrau, a chywrain balasoedd,
  A theg adeiladau fu'n uchel eu bri.

Pan ydoedd hoff danau y delyn hudolus
  Yn arllwys per dônau yn ddifyr trwy'r fro;
A'r beirddion teuluaidd yn canu cân felus,
  Am ddewrder y Cymry, a'u difyr fwyn dro;
A'r tyner rianod yn mrig yr hwyr hafaidd,
  Yn casglu tlws flodau hyfrydber eu sawr;
Ond eto ti ruthraist yn elyn cawrfilaidd,
  A chladdodd dy donau y Gantref hoff fawr.

Un diwrnod pan ydoedd dy donau aflonydd,
  Fel cadfeirch cynddeiriog dan d'wsiad y gwynt;
A hwyl llong ddisylw yn wawd i dy stormydd,
  Nid oedd a ataliai dy ymchwydd na'th hynt;—
Ond ah! wele Iesu, dy Grewr, yn sathru
  Dy wyneb cynhyrfus,—llewygaist gan fraw,
Ceryddodd dy falchder, a'th donau uchelfru,
  Siariadodd i gysgu, ar godiad ei law.

Blin adrodd dy helynt, adgofio dy droion
  Sy'n bethau a rewant y gwaed dan y fron;
I'th fol ti a lyncaist ryw ddirif fywiolion,
  A chyfoeth diderfyn sy'n ngwaelod dy don;
Ac hefyd cyn yma dy wyrdd-ddwr a gochwyd
  A dynol waed hefyd, yn ymgyrch y gâd,
Yn swn taranfolltau dy bysg a ddychrynwyd,
  Methasânt hwy sefyll yn dystion o'r brad.

Ond eto, mor ddifyr yw rhodio dy draethell,
  Gan gasglu y perlau sy'n britho dy lan,
A gweled y llongau yn nofio o hirbell
  Dy donau fel Elyrch, a'r wybr yn gân;
Mae'r olwg yn swynol, y badwr yn canu,
  A'r pysgod yn neidio hyd wyneb y don,

Y plant yn ymdrochi, a rhai yn difyru
  Eu hunain wrth weled dy agwedd mor lon.

Yr haul sydd yn tywallt ei siriol belydrau.
  Gan wisgo'r fron ddeiliog a gemau dirif,
A'r llechwedd yn gwisgo ei mantell o flodion,
  Gan ollwng ei darlun ar fynwes dy lif,
A'r goedwig, fel cydgerdd (prif oriel yr ednod)
  Yn fyw o ganiadau, mor ddifyr mae'r cor
Yn arllwys anthemau; O! ddifyr fwyn gyfnod,
  Eu cydgan gymysga a thonau y Môr.

A gwrando per suad yr awel neithdaraidd,
  Yn ysgwyd mwyn danau telynau y wig,
Ac anian yn gwisgo ei mantell rosynaidd,
  A'r coedydd heirdd deiliog yn uchel eu brig;
Tra natur yn agor ei llygaid yn raddol,
  Gan euro copaoedd talfryniau ein bro,
A'r aber chwerthinllyd, a'i halaw foreuol,
  Gofleidia dy wendon ar wely o ro.

Mae'th wyneb yn brydferth, dan awel y borau,
  Fel un ar ddihuno 'nol gorphwys dros nos;
Yn araf ymsymud y gwelir dy donau,
  Yn wir O! for eang mae'th olwg yn dlos;
Y chwaon sy'n chwareu ar wyneb dy ddyfroedd,
  Gan ffurfio heirdd ddolydd yn fil ac yn fyrdd,
A rheini fel llenyrch o eang ddyffrynoedd,
  Dy wyneb arliwiwyd o lâs ac o wyrdd.

Y gwlanog niwl bolwyn a geir ar adegau,
  Fel nofiawl ynysoedd ar wyneb y don,
Gan araf ymrodio ar draws dy wyrdd-donau,
  Fe'i gwelir yn brydferth o ochr y fron,
Pryd arall fel cwrlid dros erchwyn dy wely,
  Ymestyn i'th guddio o'r naill lan i'r llall;
A'r chwaon pereiddlon i'th suo i gysgu,
  A natur yn siglo ei baban heb ball.

Y morwr pryderus a wylia dy agwedd,
  Pan byddi fel yma yn huno mewn hedd;

A'r wybr seirianliw a gwrid o eiddigedd,
Yn trwsio a'i chymyl, i'r huan ei sedd;
A'r balmaidd awelon yn araf ymrodio,
Ar hyd dy frith wyneb yn dawel eu si;
A'th donau yn chwerthin rhwng cysgu ac effro,
Fel baban y bore y gwelir dy li'.

Ar hyd dy faith wyneb dy donau chwedleuant,
Wrth deithio'n mlaen rhagddynt yn araf eu hynt;
A'r awel hudolus y teg ymddiddanant,
Cyfeillach a gadwant mor ddifyr a'r gwynt;
Adroddant i'w gilydd eu teithiau pellenig,
A'r amryw olygfa a welsant ar daen,
A'r naill a edrychai ar y llall yn garedig,
Ni welwyd cyfarfod difyrach o'r blaen.

Mae'r wybr yn dawel, y morwr calonog
A leda ei hwyliau yn ddifyr i'r daith,
A chwery ei faner 'n yr awel odidog,
Ac yntau a gana yn felys ei iaith;
O'r porthladd daw allan, ei daith a anturia,
A'i galon yn rymus i wyneb yr aig;
Wrth gefnu draw weithion, ei amben ysgydwa,
Yn arwydd o ffarwel i'w anwyl hoff wraig.

Ei long fel yr ellyn a hollta dy ddyfroedd,
A'i hwyliau ar brydiau gusanant y don,
Yn mlaen ti a'i hyrddi am fyrdd o filltiroedd,
Tra'r morwr yn canu yn llawen ei fron;
A'r mil for-forwynion yn llys y gwerddonau,
Roent engraifft odidog o gyd-gerdd mor fwyn,
Rhyw oslef ddieithrol yw, chweru ar glustiau
Y morwr gorlawen, a theimla ei swyn.

Ond Ah! dyna'r olwg i raddau'n cyfnewid,
Mae'r nefoedd yn gwrido, mae sî yn y gwynt,
Mae'r wybr yn gymylog, ceir storm fe debygid,
Nid yw yr olygfa i'w gweled fel cynt.
Y *Dymestl Aderyn*, a'i oerllef alaethus,
Prif herodr ystormydd a glywir o draw;

T? welwch y bore, oedd olwg wenieithus,
Y morwr dewr galon a ddaliwyd a braw.

Mae'r storm ar ymesgor,—ar gaerau'r mynyddoedd
Y machlud yr huan,—ymddua y nen!
Ei edyn a estyn y cwmwl trwy'r nefoedd,
Y dymestl a gasgla ei lluoedd uwch ben,
Mae natur yn methu anadlu yr awrhon,
Rhyw dduwch, tawelwch sy'n gwisgo y byd;
Ond tori'r distawrwydd wna dirif och'neidion
Y morwr pryderus newidiodd ei bryd.

Fel brenin goruchel ti gasgli dy senedd,
Y boreu ofnadwy cyn dechreu y gâd;
Elfenau y cread nesânt yn eu mawredd,
I drefnu y gorchwyl er llunio y brad;
Tynghedi y corwynt i gasglu'i alluoedd,
A'r cwmwl caddugawl i gynull ystor,
A'r daran a ollwng ei magnel o'r nefoedd,
Y gwib-fellt fflamgochion gyd weithiant a'r mor.

Gollyngir y trymwynt fel cadfarch i ruthro
O'i loches diarswyd dros lechwedd y fron,
A swn ei weryriad yr adsain yr ogo',
Ymruthra i'th wyneb gan dorchi dy don,
A thithau fel cawrfil a'th ffroenau chwyddedig,
Yn ymladd i'w erbyn a ffôm ar dy safn;
Dy eigion grychferwa fel crochan berwedig,
Cyfodi o'th waelod i'w wyneb bob dafn.

Catrodau dy ddyfnder wrth adsain y corwynt,
A gydymfyddinant i'r ornest ynghyd,
A thon ar ol ton, yn ddiflyn ei helynt,
Gan rym a ymgodant i uchder y byd!
Dy ddirif breswylwyr yn nydd yr ymdrechfa,
Ymlechant o'r cyffro yn ogof y graig;
Eu gwely anesmwyth nid yw yn orphwysfa,
Y diwrnod y brwydra y corwynt a'r aig.

Taranau ymdreiglant ar balmant y nefoedd,
  Gan rwygo'r cymylau o'u deutu yn ddellt;
A cherbyd y dymestl a'i rhuthrawg fyddinoedd,
  Wrth erlyn, o'i chantau y rhuthra y mellt;
Dy frochus benrhynoedd a rwygant gafodydd,
  O'r cochion ufulfellt wrth ymgais a thi;
A'r daran a drenga yn mro yr wybrenoedd,
  A'r dreigiau cynddeiriog draflynca dy li'.

Yn adsain chwibianiad'r elfenawg fyddinoedd,
  Y morwr gwrolaf a ddaliwyd a braw;
Er ymbil, for byddar i'w weddi a'i ingoedd,
  Diystyr a fyddi er codi ei law!
Fel blewyn disylwedd ar war y trychionlli,
  Ei long ef a welir yn wawd gan dy don,
Yn cael ei chwyrn-luchio trwy ddanedd y weilgi,
  Ac yntau mewn arswyd a braw tan ei fron.

Ond ha! wele'r cwmwl yn dechreu ymgilio,
  Boglynau'r ffurfafen lygadant gerbron;
Y dymestl aeth adref i'w gwely dan rüo,
  Fel meddwyn hurtiedig y gorphwys y don.
Ar gaerau y dwyrain y gwelir y wawrddydd
  Yn chwareu ei haden, gan ruddo y nen,
A'r cwmwl symudliw yn nofio'r wybrenydd,
  A'r lleuad dan huno ogwyddodd ei phen.

Draw, draw wele osgordd y boreu yn agor,
  Yn eitha'r dwyreinfyd, i'r heulwen y ddor,
Gael iddo ddod allan o'i babell aneisor;
  Croesawir ei wyneb gan gydgan y mor;
Hyawdledd y wendon a ddeffry ganiadau
  Y corau adeiniog oddeutu y lan;
Gwefreiddir holl anian yn swn yr anthemau,
  Rhyw gydgerdd ddieilfydd orlanwa bob man.

Y morwr draw welir fel un ar ddihuno,
  Yn dechreu dadebru 'nol lludded y nos,
Ei ael wleb a wisga ryw wên hawddgar eto,
  Yn wylnos y storm caiff olygfa dra thlos;
Ei lestr wanafa y tonau aflonydd,

A chenfydd yr enfys dryliwiog o draw,
Yn chwareu a phelydr yr heulwen ysblenydd,
Ymlidiwyd o'i fynwes bob gofid a braw.

Ail leda ei hwyliau y rhai a gusenir
Gan dyner awelon wrth deithio dy lif;
A'th ddyfroedd cymysglyd fel drychau a loewir,
A'r pysgod chwareugar a welir heb rif;
Y morwr a bletha ei ddifyr ganiadau,
Tra'r tonau o dano yn gwenu yn llon,
Offrymai ei ddiolch i Dduw y dyfnderau,
Am ddofi y weilgi a ffrwyno ei don.

Ynysoedd a welaf yn codi eu penau,
Ynghanol tarth llwydwyn, a mwynder ynglyn,
Rhyw olwg fynyddig yn awr a ganfydda,
Daw heibio dan ganu i *Ynys y Dyn;*
Mynyddoedd Eryri a'i rhieidr ysgythrog,
Eryrawg gastelli yn mroydd y nen,
A genfydd a'r cwmwl fel talaeth odidog,
Yn edrych yn brydferth o amgylch eu pen.

Ac adref y dychwel i'r porthladd dymunol,
Gan sylu ar ddirfawr ryfeddod yr Ior;
Ynghanol gwerdd-donau y weilgi aruthrol,
Rhyfeddod! rhyfeddod yn ddiau yw'r Mor;
A chyfyd ei feddwl at for mawr ei gariad,
Y fynwent dragwyddol i bechod a bai;
A'r nefol ddedwyddwch heb arno derfyniad,
Yn eitha'i orlanw heb arno byth drai.

---

## ENGLYN I'R CWMWL.

Nofio ar gant y nefoedd,—ac yfed
O gyfoeth y Moroedd,
Wna'r digwl gwmwl ar g'oedd,
A gollwng dwfr o'i gelloedd.

# BRWYDR ALMA.

Barnwyd y Bryddest hon yn Gyd-fuddugol ag eiddo I. G. Aled, yn Eisteddfod Treffynon, Ionawr 1af, 1855.

---

Ymddyrcha fy awen a gwel yr olygfa
Frawychus a gwaedlyd ar fryniau yr Alma;
Gwel yno galanedd—y Bidog a wridir,
A gwaed dynol heddyw y cleddyf a feddwir.

Er tynu'r olygfa efallai'n fwy cywir,
Nyni a ddychwelwn i waelod y coed-tir;
Lle gorphwys y lluoedd y noson flaenorol,
Gan hulio y morlan a'r dyffryn eangol;
Gorchuddient y bryniau a'r llechwedd cyfagos,
A dyna lle cadwai y Dymestl ei hwylnos;
Y noswaith oedd arlun o'r diwrnod dyfodol,
Tywalltai yr awyr ei chynwys llifeiriol,—
Agorwyd pyrth llydain y tyrfus daranau,
Gollyngwyd y gwib-fellt yn rhydd o'u cadwynau;
Drwy'r noswaith ofnadwy fe ruai'r dwyreinwynt,
Ac angau ymwibiai ar aden y corwynt:
Cymylau digofus fel erchyll fyddinoedd,
A hyrddiant eu gilydd hyd wyneb y nefoedd;
A thonau cynddeiriog y mor yn ymdreiglo,
Yn foryn ar foryn, gan boeri a rhuo,
Pob ton a agorai ei safn mewn digllonedd,
Pob moryn ddangosai ryw erchyll gynddaredd;
Ochneidiai'r nos felly, drwy'r gwerllys ymhobman,
Ar aden y bore prysurai'r gyflafan;
Cyflymai ymlithriad pob bychan fynudyn,
Fel ebrwydd ddisgyniad y tywod mewn gwydryn;
Tra'r cleddyf yn huno'n ei wain yn ddiogel,
Ac angau yn llechu yn nghysgod y fagnel.

O! olwg or-bruddaidd sydd yma i'w chanfod,
Tosturi a Heddwch yn wylo yn nghyd;

Rhyw ddarpar ofnadwy ar gyfer y diwrnod,
   A gofir mewn galar gan filoedd trwy'r byd:
Hir, hir y bu Heddwch yn hyfryd deyrnasu,
   Tangnefedd dymunol yn llenwi y llawr,
A'r arfau dinystrol am ysbaid yn cysgu,
   Ond wele! deffroant gan dincian yn awr.

Y Fagnel a'r Cleddyf, yn hir segur oeddynt,
   Y March a'r Marchogwr chwareuent yn nghyd;
Gefeiliau'r Llywodraeth heb swn morthwyl ynddynt,
   A Masnach yn rhwysgfawr, Unbenes y byd;
Teyrnasoedd y ddaear fel llon gyfeillesau,
   Yn siarad a'u gilydd yn llawen eu llais,
Nes araf grynhoai rhyw ddu gwmwl-resau,
   A'r Arth elai'n gryfach mewn gormes a thrais.

I borthi ei thrachwant traflyncai deyrnasoedd,
A'u lluaws taleithiau,—O! mor wancus ydoedd;
Y trachwant anniwall nis gallai ei dori,
A'i safn a agorai i lyncu hen Dwrci!
Anfonodd ei lluoedd arfogion ysglyfgar,
Y rhai a ruthrasant i'r anrhaith a'r anwar,
Ar genedl ddiniwaid gan dynu cleddyfau,
A gosod i'w herbyn holl rym eu magnelau;
Wrth wel'd y trahausder, Llew Prydain gynhyrfodd,
A'i fwng cenedlaethol yn ddigllon ysgydwodd,
Ei waed a orferwodd, a'i ruad dychrynllyd
Ddadebrodd yr Eryr i ruthro yn unfryd;
Pwy ddeil i'w digllonedd? Nid ffyrnig *Arth Russia*,
Mal dengys y foru ar lethrau yr Alma!

O! Alma anhynod, pwy wyddai am dani
Ar len daearyddiaeth, yn sibrwd drwy'r llwyni,
Nes lliwio ei ffrydlif gan gochwaed y Brython,
Cysegrwyd hi bellach i suo'n hanwylion;
Rhyw ardal anenwog yn wir oedd ei llethri,
Ei phenaf amrywion oedd gwres mawr ac oerni;
Ond bellach hi gerfiwyd ar fyrdd o galonau,
A bydd yn ddiareb am lawer o oesau;
Lle cwympodd ein cedyrn ar fryniau'r Crimea,
Addurna bob mawrnad fel cynt hen Gilboa;

Fe'i cofir mewn galar gan filoedd o weddwon,
Amddifaid a'i dysgant fel "gair teulu," weithion;
Fe laddodd ei filoedd o ddewrion blant gwragedd,
Byth mwy fe'i cyfrifir yn brif faes calanedd!

Pan ydoedd y wawrddydd o'i hun yn ymysgwyd,
Y llethrau dadseiniol gan udgorn floedd siglwyd;
A chyffrawd gwroniaid, a thinciad yr arfau,
A greodd dôn newydd yn adsain y bryniau.

O! fore ofnadwy'r ugeinfed o Fedi,
   Yr udgyrn a seinient yn hirllaes yn awr,
A'n lluoedd a welid fel llewod yn codi
   Oddiar y llechweddau cyn toriad y wawr;
Eu harfau tryloewon a wanent y wawrddydd,
   Ad-daflent ryw lewyrch brawychus drwy'r fro,
Gan adsain eu tinciad wrth symud drwy'u gilydd,
   Tynerwch a theimlad a yrwyd ar ffô.

Ah! ah! dacw filoedd o lydain fanerau,
Yn chwifio drwy'r awel hyd lechwedd y bryniau,
Y *Llew* yn blaenori a'r *Eryr* adeiniog,
Yn dilyn yn drefnus mewn agwedd fyddinog;
Mae nghalon yn pallu wrth imi rag-ganfod
Trychineb dyfodol ddadblyga y diwrnod;
St Arnaud, a Raglan, y dewr Faeslywyddion,
A chwifient y cleddyf o flaen yr arfogion;
Gweryriad chwyrn-gadfeirch, ac adsain tabyrddau
Sy'r awrhon yn llenwi yr eang ororau,
Y ddaear lle safent sydd megys yn crynu,
Tra natur ei hunan yn methu anadlu;
Y gwres annioddefol sydd arlun o'r loesau
A lethant ein dewrion ar fyr i ffwrn angau;
Aent rhagddynt, aent rhagddynt am amryw filldiroedd,
Draw mhell ar eu cyfer mae'r câs wrth-fyddinoedd
Yn hulio copaoedd yr uchel glogwyni.—
      Wel! wel dacw'r ddwyblaid yn tynu y cledd,
      Swyddogion cyngreiriol ein gwlad sydd yn delwi,
      Pob gewyn estyna, ffyrniga y wedd;
      O'u blaen, ar eu cyfer mae'r afon ddolenog,
      Fel pe byddai'n dychryn gan geisio lle i ffoi,

Rhag cael ei thryferwi gan dânau llofruddiog,
Trwy waelod y dyffryn mae'n gorwyllt gylchdroi.

Y gâd sydd yr awrhon yn ngolwg eu gilydd,
O! 'r gloewon gleddyfau mewn syched draw sydd
Yn enyn pelydrau ar ochrau y bronydd,
A hwtion dirmygus yn dianc yn rhydd;
Ar hyn dyna ergyd o glogwyn ysgythrog,
Yn rhuo i wared i waelod y cwm,
Yr hon a atebid gan gawod gynddeiriog
O danllyd belenau yn gymysg a phlwm.

Yn ystlys, yn ystlys gwyr Ffrainc a'r Prydeinwyr,
Gyd-gerddant yn wrol i'r bryniau yn awr;
Meib Gomer, a'r Tyrciaid, a'r glewion Albanwyr,
A'r gelyn a dorant yn lluoedd i'r llawr;
Tra'r llongau yn lluchio y tanllyd belenau,
Y rhai a esgorant ar angau ei hun;
A gwnaethant alanas ar hyd y llechweddau,—
Rhyw farwol genhadau yn wir oedd pob un.

Ein milwyr a lament fel "ceirw'r mynyddau"
I fynu y creigiau, er tân y magnelau,
Tra bloeddiai'r llywyddion, i'w brwd galonogi:—
"Ewch rhagoch, ewch rhagoch, mewn nerth a gwrhydri,
Gorchfygwch, gorchfygwch y dewrion fyddinoedd,
A sathrwch ar falchder holl Russia a'i lluoedd.
Bydd heddyw yn ddiwrnod a gofir yn ddiau
Gan Eurob a'r byd 'mhen llawer o oesau;
Bydd bryniau yr Alma 'n golofnau o'ch dewrder,
I nodi'ch gwroldeb 'mhen llawer o amser."

Pob dyfais arferwyd pryd hyn i'w llesteirio—
Celfyddyd ar egni—pentrefydd yn fflamio,—
Colofnau cymylog o fwg yn gorchuddio
Y llethrau, tra'r pelau trwy hwn yn ymwibio.
Cudd-gloddiau angeuol yn chwydu celanedd,
Pob clogwyn arllwysai rhyw farwol gynddaredd.

I waelod y dyffryn, cenhadau marwolaeth,
Yn 'storm o belenau ddisgynent yn nghyd,

Gan dorchi y llethrau yn ngrym eu difrodaeth;
Er hyny'n gwroniaid ant rhagddynt i gyd.
Y glewion *Gossaciaid* ar benau'r clogwyni,
Arllwysent gawodydd digofus trwy'r llethri—
Disgyna fel cesair eu hanfad beleni;
O ddiwrnod a gofir mewn galar trwy'r byd.

Er hyny'r Brythoniaid a'u henwog gad-lywydd,
Yn golofn ddiysgog, anturiant y bronydd;
Er iddynt gyfarfod ystorm o belenau,
A marwol gynwysiad y trymion gyflegrau.
Gwroniaid tir Gwalia a sathrent y llethrau,
Yn nerth a gwrhydri eu henwog gyndadau;
Er cwympo'u swyddogion yn lluoedd o'u deutu;
Ac Angau mewn balchder yn awr yn crechwenu;
Fel llewod hwy lamant y llechwedd daneddog,
Gan wneuthur galanas o'r gelyn bygylog;
Rhyw farwol adwyau a wna eu hergydion,
A'r ddaear a huliant a tho'r trancedigion,
Tra'r gelyn ystyfnig oddiar y llechweddau
Yn arllwys i'w herbyn y marwol gawodau,
Y rhai a rudd-gochent yr afon gynhyrfus
A gwaed lladdedigion,—O! olwg frawychus.

Er hyny 'mlaen rhagddynt yn brysur anturiant,
A'r llechwedd ofnadwy yn gyflym enillant.
Pelenau y Russiaid fel gwlaw yn Mehefin,
Ddibrisiai ein dewrion mewn gwaed oer cysefin;
Gwroldeb eu calon a wisga eu gwyneb
A hyfder i wrthladd cenhadau marwoldeb;
Eu henwog gad-lywydd a lefa,—"Ewch fechgyn,
A chleddwch y bidog yn mynwes y gelyn."
Ni wybu ein Harwyr pa beth yw enciliad,
Ond rhuthrant i'r ymgyrch mewn chwyrn ymosodiad,
I fynu y creigiau, fel glewion hwy ddringent
I wyneb y gelyn, a'i nerthoedd a sathrent,
Fel crinddail yr Hydref ar wyneb y dolydd,
Y gwelid y Russiaid dan draed ein carenydd;
Pob milwr wrth gamru i wyneb y gelyn
Ddangosai mor ofer oedd sefyll i'w erbyn.

Ha! daew'r Albanwyr, fel dreigiau y rhuthrant,
A'r gelyn ystyfnig â'u bidog a frathant.
Yr awchus gleddyfau a fedai y lluoedd,
A'u cadfeirch a rwygant y cedyrn fyddinoedd,
Er rhuo'r magnelau yn awr i'w gwynebau,
Gan boeri eu dinystr ar hyd y llechweddau;
Ein milwyr calonog ymdeithient yn eofn,
Mewn perffaith ymffurfiad yn golofn ar golofn,
Fel creigiau diysgog, heb ddim a'u llesteiria,
Tra'r llenyrch o'u deutu yn ddinystr a chwalfa,
A'r gwaed yn afonydd yn lliwio y ddaear,
Ac angeu'n eangu holl ddrysau ei garchar.

Y bryniau rhuddliwiog yn awr enillasant
A'r llydain faneri cyngreiriol a chwifiant
Ar Alma! och! Alma, tra'r gelyn gwallgofus
Yn ffoi gydag anrhefn mewn gwarth cywilyddus.

Y gair "BUDDUGOLIAETH" a redai fel trydan
O fynwes i fynwes, a thorai'n floedd allan
Yn fonllef fyddarol er cymaint y lladdfa,
Nes adsain holl fryniau rhuddliwiog yr Alma;
A'r gelyn enciliai fel tonnau'r dyfnderoedd—
Yn cilio o'u hymgyrch ar sail y mynyddoedd.
Er cwympo o'u dewrion ar faes y trychineb,
Eu henwau argraffwyd ar rol anfarwoldeb;
Eu breichiau cyhyrog ni phlygai un gelyn
Er rhuthro'n golofnau ofnadwy i'w herbyn;
Ni cha'dd yr un frwydyr yn wir ei chofnodi
Ar len hanesyddiaeth erioed yn ail iddi.

Mae yno ryw olwg frawychus i'w chanfod—
  Rhyw *dranoeth* ofnadwy i deimlad y byw;—
Y ddaear a hiliwyd â meirw—och! ddifrod—
  Mae'm calon yn crynu, a'm teimlad yn wyw:
Tra'r llefau syfrdanol yn rhwygo yr awyr,
  A'r gair "Buddugoliaeth" yn siglo y wlad;
A chynwrf gwallgofus y dewrion ryfelwyr
  Mewn cymysg orfoledd ar derfyn y gâd.

O gesail pob clogwyn, oddiar y llechweddau,
  Y clywir dolefau angeuol yn awr;

Y miloedd clwyfedig 'n ymdrechu âg angau,
  Ac eraill yn *cripio* yn llesg hyd y llawr.
Rhyw ddarnau o ddynion sydd yma'n faledig—
  Aberthwyd ar allor wallgofus y gâd—
Rhai'n marw! rhai'n ochain yn haner trancedig—
  Brawychus ddolefau sy'n rhwygo y wlad.

Y ddaear a hiliwyd am amryw filltiroedd,
  A chyrff lladdedigion y brithir y tir!
Rhy ddrud ydyw'r *goncwest*—fe'i prynwyd â miloedd
  O ddewrion blant gwragedd! rhy ddrud ydyw'n wir.
Ysbeiliwyd aml briod—gwnaed myrdd yn amddifaid!
  Agorwyd erch ddrysau trueni a gwae.
Os prynwyd yr Alma â choch-waed trueiniaid,
  Pa le mae y milwr? pwy etyb p'le mae?

O Dduw! galw eilwaith y cleddyf i gysgu,
  Ac atal y difrod rhyfelgar yn awr;
Drachefn dyro heddwch i hyfryd deyrnasu—
  Tangnefedd a rhyddid fo'n llenwi y llawr.
Dynoliaeth, gwladgarwch, a chrefydd sy'n wylo
  Uwchben lladdedigion lluosog y gâd;
Amddifaid a gweddwon sy'n trymllyd och'neidio—
  Dod HEDDWCH—rhyglydda roi heddwch i'n gwlad.

---

# PENILLION

Ar Ymweliad y Frenhines Victoria â Bangor, Hydref 13, 1852.

*Mesur*—"LLWYN ON."

Wel dyma lawenydd a enyn ein broydd,
  A Gwalia bwygilydd yn rhydd a fawrha;
Ein tirion VICTORIA a gafwyd, do, yma—
  Bangoria falchia ar ddiwedd yr ha';
Hwre i'w Mawrhydi! adseinia'r clogwyni,
  A Llanciau Eryri a rwygent y nen;
Pob calon ddychlama o barch i Victoria,
  Pob tafod gytuna yn barchus i'n pen.

Gwlad Arfon gynhyrfa, a'i thir a drydana,
  A miloedd ganmola ein Teyrn heb wahan;
Ei threfi oleuir, a'i bryniau gysegrir,

A'i brodir a welir yn allor o dân;
Y Wyddfa dderchafol! a'i bryniau'n dàn ysol,
A'r Seiriol ymsigla fel baban mewn cryd;
Gwyr ifanc, gwyryfon, a'r uchel foneddion,
Groesawant o galon brif Fanon y byd.

Trwy fwäau addurnol caiff rodio'n urddasol,
Mewn rhwysg ymerodrol bydd breiniol pob lle;
Y llwybrau lle cerdda, addurnir â blodau,
A'i chlódydd adseinia drwy gonglau y dre'—
"Victoria!" "Victoria!" adseinia y creigiau;
Ac etyb pynt Menai mewn adsain uwchben—
"Hir oes i Victoria," ei hil a deyrnasa
Tra byddo haul anian yn llwybro y nen.

Na chryned ei gorsedd, na wywed ei mawredd,
Ond caffed anrhydedd, hir hoedledd heb loes;
A their-oes, o'i dyblu a gaffo'i deyrnasu;
Na phrofed, na weled un gofid drwy'i hoes;
O'r orsedd ddaearol esgyned i'r nefol,
Ac yno'n drag'wyddol caiff orsedd y ne';
A'n T'wysog mewn mawredd esgyno i'w gorsedd
Mewn parch ac anrhydedd, hir lanwed ei lle.

---

## ENGLYNION

Ar Ymadawiad Mr. Daniel Parry, Gyrwr y Llythyr-gerbyd o Bwllheli i Fangor, yn nghyda chyfeiriad at ei arosiad yn Nghaernarfon.

DANIEL PARRY, ni fwynhawn,—yma'n awr
Mo'i wên hoff serchoglawn;
Mae hi'n chwith am na chawn
Fwynderau'i gynfan diriawn!

Fe'n gyru i mewn i Fangor mwy—ni chawn
Heb na chur na mawr-glwy';
Mintai hen ffrindiau—maent hwy
Yn trymaidd hebddo'n tramwy.

Yn Nghaernarfon, lon fawr le,—y mwyn was,
Mae'i nosol arosle;
Ar ol i'r adgas *rail-way*
Ei syflyd o'i hen safle.

Hoffeiddlwys oedd a ffyddlon,—a allai
O 'wyllys wnai'n union;
Ac hwylus oedd o galon,
Rhydd o frad, a rhwydd ei fron.

"Pell o olwg Pwllheli"—adwaenir
Enw Daniel Parri;
Yn Nghlynnog Fawr, freinfawr fri—
Caersalwg—fel ceir sylwi.

Mawredd goruwch myrdd, gair uchel—a gaiff,
Parch gwir a diymgel;
Yn llwyr hyd y fan lle'r el
Hed enw peraidd Daniel.

Yn ganwaith mwy ei gynydd—y byddo
Mewn buddiant dieilydd;
Yn ddinag lle bynag bydd
Ein gwlad ddadseinia'i glodydd,

---

## DAU ENGLYN BUDDUGOL I JOHN FRANCIS, Ysw.
### BRYNDERWEN,
Llywydd Cyfarfod Llenyddol Bethesda, Arfon, Rhag. 22, 1854.

Gwr hynaws hawddgar enwog—yw Llywydd
Ein llu mawr talentog;
Mae'i wen i'r awen rywiog,
Lofr ei gwedd, fel haf i'r gog.

Hir iechyd i'n FRANCIS oruchel—f'o
Oes fwyn a thawel;
Ein nawdd yw y gwr yn ddigel,
Llyw a choron yr holl chwarel.

---

## ENGLYN BUDDUGOL YN EISTEDDFOD MADOG.
1851.

CARNHUANAWC—cawr ein hynys—gwnai'n henw,
Gwnai'n hanes yn hysbys;
Gwnai'r delyn syw'n fyw â'i fys;
O! 'r mawr wr—yma'r erys.

---

BETHESDA: ARGRAFFWYD GAN R. JONES.

